# GRAWN-SYPIAU CANAAN,

NEU BIGION O

# HYMNAU A PSALMAU

ADDAS I

## ADDOLIAD CYHOEDDUS,

neu

*NEILLDUEDIG*

Pa rai a arferir y'mhlith y Methodistiaid Calfinaidd.

---

YR HYMNAU GAN

## Y PARCH. W. WILLIAMS,

A'R PSALMAU

## GAN EDMUND PRYS,

*Gynt Arch Diacon Meirionydd*

---

CAERNARFON,
ARGRAFFWYD GAN L. E. JONES.

1829.

# TABL

*I ddangos pa le y ceir unrhyw Hymn Psalm neu Benill wrth eu dechreuad.*

D. S. Y geiriau mewn llythyrennau Italaidd sydd yn arwyddo dechreuad yr Hymn neu'r Psalm.

## TABL I'R PSALMAU.

## HYMNAU SAESONAEG.



## HYMNAU ACHLYSUROL.

# PIGION O HYMNAU.

HYMN 1. *Mesur*, 8, 7

***Dymuniad am eglurdeb mwy o iachawdwriaeth rad.***

DYRO olwg ar dy haeddiant,
  Golwg ar dy deyrnas rad;
Brynwyd i mi ac a seliwyd,
  Seliwyd i mi â dy waed:
Rho i mi gyrchu tu ag atti,
  Peidio byth a llwfrhau;
Ar fy nhaith ni cheisiaf gennyt,
  Ond yn unig dy fwynhau.

Ac ni cheisiaf drysor arall,
  Ond tydi mewn anial fyd;
'Rwyt ti'n ddigon byth dy hunan,
  Dim ond ti a lanw mryd,
Nid oes gystudd fyth wna niwed,
  Pan bwy'n pwyso ar dy rym;
Hebot nid oes rwyd gan Satan.
  Na wna 'n rhyw fodd niwed im'.

Gyda thi yr âf trwy'r fyddin,
  Gyda thi yr âf trwy'r tân.
Nid ofnaf ymchwydd yr Iorddonen,
  Ond it' fyned o fy mlaen:

Ti yw fy amddiffynfa gadarn,
  Ti yw 'Mrenhin a fy Nhad;
Ti dy hunan oll yn unig,
  Yw fy iachawdwriaeth rad.

Ffynnon wyt o bob tosturi,
  Nid oes gwybod faint dy ras;
Dy haelioni sydd yn cynnal,
  Pob peth ar y ddaear las:
Dal fy yspryd gwan i fynu,
  Edrych ar y bryniau mawr,
Sydd yn pwyso ar fy nghalon,
  Ac yn ceisio'm dodi 'lawr.

### HYMN 2. M. 8, 7.

*Hiraeth am fwy o gymdeithas a Duw.*

O AM nerth i dreulio'm dyddiau,
  Y'nghynteddoedd tŷ fy Nhad;
Byw ynghanol y goleuni,
  T'wyllwch obry tan fy nhraed:
Byw heb fachlyd haul un amser;
  Byw heb gwmmwl, byw heb boen,
Byw ar gariad anorchfygol,
  Pur y croeshoeliedig Oen.

Pa bryd fy Nhad ca'i yfed dyfroedd.
  Dyfroedd gloyw sy'n iachau?
Pob rhyw bleser wedi darfod,
  Ond yn unig dy fwynhau:
Pwyso 'm henaid ar dy fynwes,
  Edrych ar dy wyneb llon,

Caru nes anghofio 'r oriau,
Sydd imi ar y ddaear hon.

Gosod babell yngwlad Gosen,
Tyred Arglwydd yno dy hun;
Gostwng o'r uchelder golau,
Gwna dy drigfan gyda dyn:
Trig yn Sion, aros yno,
Lle mae 'r llwythau 'n d'od yngbyd;
Byth na ymâd oddiwrth dy bobl,
Nes yn ulw 'r elo 'r byd.

O foreuddydd y briodas,
Gwynfyd 'welai y ddedwydd awr;
Gwel'd wynepryd y Priod fab,
Clywed llais y delyn fawr:
Awn tan gann tros y moroedd
Meithion tu a'r hyfryd wlad,
Ac anghofiwn hen ganiadau,
Gwag bleserau ty fy nhad.

## HYMN 3. M. 8, 7.

*Crist yn unig gysur yn angau.*

O IACHAWDWR pechaduriaid,
Sydd a'r gallu yn dy law;
Rho oleuni, hwylia y'm henaid,
Dros y cefnfor garw draw,
Gad i'r wawr fod o fy wyneb,
Rho fy enaid llesg yn rhydd,
Nes i'r haelwen ddisglaer godi,
Tywys fi wrth y seren ddydd.

Pa fodd yr âf i trwy'r Iorddonen,
Oni ddeui di dy hun,
Yno i dorri grym y tonnau,
Ac i gynnal eiddil un?
Dal fy mhen i'r lann yn gadarn,
Pan bo angeu'n fawr ei ryw,
Pledia'n wrol yn ei wyneb,
Pan na bwyf yn gallu dim.

O ynfydrwydd, O ffolineb,
I mi 'rioed i roi fy mryd,
Ar un pleser, ar un tegan,
A welais etto yn y byd;
Y mae'r byd yn myned heibio,
A'i deganau o bob rhyw,
Tan y nef ni thal ei garu,
Wrth ddrych arall ond fy Nuw.

Mae nghyfeillion wedi myned,
Draw yn lluoedd o fy mlaen;
Y rhai fu'n myn'd trwy ddyffryn Baca,
Gyda mi i Salem lân;
Yn y dyffryn tywyll garw,
Ffydd i'r lann a'u daliodd hwy;
Mae'r addewid lawn i minnau,
Pa'm yr ofna'm henaid mwy.

HYMN. 4. M. 8. 7.

*Deisyfiad hiraethlon am ddihangfa i'r wlad dawel.*

MAE'r anialwch wedi mlino,
Ehwant sydd arnaf wel'd y tir,

Roddwyd i mi gan fy Arglwydd,
  Cadarn mewn addewid wir;
Gwlad o oleuni heb dywyllwch,
  Gwlad o gariad heb ddim trai,
Gwlad heb hawddfyd na phleserau,
  Ond yn unig dy fwynhau.

O derchafa 'm henaid egwan.
  Y mae bellach yn hwyrhau;
Hir yw'r amser i och'neidio,
  Gwna fi o'r diwedd lawenhau:
Gorphwys gronyn bach a chanu.
  Yn rhydd o'm holl ofidiau i gyd,
Yn y man och'neidio a griddfan,
  Yw fy mywyd yn y byd.

Disgwyl pethau gwych i ddyfod,
  Croes i hynny maent yn d'od;
Meddwl foru daw gorfoledd,
  Fora 'r tristwch mwya' erioed;
Meddwl byw ac etto marw,
  Yw'r lleferydd dan fy mron,
Bob yn ronyn mi rof ffarwel,
  Ffarwel glân i'r ddaear hon.

Trag'wyddoldeb mawr yw d'enw,
  Ti mae 'n debyg yw fy lle;
Un dros ddiwrnod ydwyf yma,
  Fry mae ughartre yn y ne':
Mae 'm diwrnod bron a gorphen,
  Mae fy haul bron myn'd i lawr,
Mae pob awel yn fy chwythu
  Tu a'r trag'wyddoldeb mawr:

Blinais ar afonydd Babel.
Nid oes yno ond wylo i gyd;
Llais telynau hyfryd Sion,
Sydd yn gyson ddenu 'mryd;
Tyr'd â ni yn dorf gariadus,
O gaethiwed Babel fawr,
Ac nes bo'm ar fynydd Sion,
Na'd i'n orphwys fynud awr.

HYMN 6. M. 8, 7.

*Hyder y credadyn am ymwared o bob gofid.*

DYN dieithr ydwyf yma,
Draw mae'm genedigol wlad,
Draw i'r moroedd mawr temhestlog,
Ac o fewn i'r Ganaan rad:
Stormydd mawr o demtasiynau,
'Nghuddodd i fel hyn mor bell,
Tyred ddehau wynt pereiddiaf,
Chwyth fi i'r baradwys well.

Ac er gwaetha' grym y tonnau,
Sydd yn curo o bob tu,
D'of trwy'r storom, d'of trwy'r gwynt·
Ryw bryd i'r Baradwys fry: [oedd,
Gair fy Nuw sy'n drech na'r moroedd
Gair fy Nuw sy'n drech na'r donn;
Ac mi anturiaf oll a feddwyf,
Bythoedd i'r addewid hon.

Ac ni fyddai'n hir cyn gorphen.
Ddim yn hir cyn lannio fry;

Pob gorchymyn, pob bygythiad,
Pob addewid sydd o'm tu;
Nid y dyfnder fydd fy nhrigfan,
Gwn y deuaf yn y man,
Ar ol fy ngolchi gan y tonnau,
Yn ddiangol iawn i'r lann.

Derfydd i mi garu ac ofni,
Dim o'r nefoedd fawr i'r byd,
Pan y caffwi'r olwg gyntaf,
Deceed yw dy wyneb pryd;
Gwedd dy wyneb sy'n dwyn bywyd,
Gwedd dy wyneb sy'n dwyn hedd,
Gwedd dy wyneb ydyw'r cwbl,
Yma a thu draw i'r bedd.

## HYMN 7. M. 8, 7.

*Cwyno am adnewyddol gymdeithas a Duw.*

Mae fy nghalon am ehedeg,
Unwaith etto uwch y lli',
I gael profi'r hen gymdeithas,
Gynt fu rhyngwyf a thydi;
Mi a grwydrais anial garw,
Heb un gradd o olau'r dydd;
Un wreichionen o dy gariad
Wna fy rhwymau oll yn rhydd

O distawa nghalon ynfyd,
Na chais wrthddrych arall mwy;
Digon, mwy na digon ydyw,
A dioddefodd farwol glwy',

Ffarwel ddaear a'i theganau,
Nid y'ch ond y twyll i gyd:
Uwch yr wybren mae blaguryn,
Dal sui arno 'm serch a bryd.

Iesu hawddgar rwi'n dy ddewis,
Nerth i ddilyn ol dy droed;
Yna caiff fy enaid hedeg
I'r happusrwydd penna 'rioed:
Ni raid teithio'r ddaear mwyach,
Ymhlith temtasiynau 'r llawr,
Ond disgleirio 'mysg myrddiynau,
Gylch yr orsedd fel y wawr.

Cân fy enaid mwy, bydd lawen,
Minnau ddwfer tonnau maith,
Grym afonydd, llid gelynion,
Cyn bo hir i ben fy nhaith:
Mi gâf orphen dyrus anial,
Myn'd i blith y dyrfa fawr,
A chael bod heb ddim i'm blino,
Yn eu cwm'ni fel y wawr.

HYMN. 8. 8. 8. 7.

*Erfyniad am sylwedd cyn angau.*

COFIA f' enaid cyn it' dreulio
D' oriau gwerthfawr yn y byd,
Cyn ehedeg draw oddi yma,
P'un a ge's y trysor drud:
Y'mha ardal bydd fy llety,
Eath bryd hynny fydd fy ngwedd;

P' un ai, llawen ai cystuddiol,
  Fydda 'r ochr draw i'r bedd.

Pan bo'r llygaid yma yn t'wyllo,
  Yn eu pyllau 'n llechu lawr,
Troi oddi amgylch wrth ymdrechu
  A galluoedd angau mawr;
P'odd dioddefaf y fath gystudd?
  Pwy adfera 'r colled hyn?
Oni chaf guddio 'mhen y'nglwyfau,
  'R Oen fu ar Galfaria fryn.

O anialwch maith o dd'rysni,
  O afonydd mawr ei grym,
Pa faint o amser roddwyd i chwi
  Fod yn ddigalondid im?
Derfydd t'w'llwch, derfydd galar,
  Derfydd pechod o bob rhyw:
Nid yw'r wlad câf ynddi drigo,
  Ddim ond presennoldeb Duw.

Duw yn unig sydd o'm hochr,
  Ni thal dynion i mi ddim,
Llawer trymmach ydyw 'Meichiau,
  Nag yw cawri 'r byd o rym:
Iesu ddeil fy maich er cymmaint,
  Iesu ei hunan laesa 'm loes,
Eitha' llid y nef ac uffern,
  Ddioddefodd unwaith ar y groes.

## HYMN 9. M. 8, 7.

*Ymdrech y Cristion am oruchafiaeth.*

CYFARWYDDA 'm henaid, Arglwydd
Pan bwy'n teithio 'mlaen o hyd,
Llwybrau culion dyrus anhawdd
Sydd i'w cerdded yn y byd,
Cnawd ac ysbryd sy'n rhyfela,
Weithiau cariad, weithiau cas:
Ton ar don sydd yn gorchuddio,
Egwyddorion nefol ras.

Cul yw 'r llwybr i mi gerdded,
Is fy llaw mae dyfnder mawr,
Ac rwi'n ofni yn fy nghalon,
Rhag i'm traed i lithro i lawr:
Yn dy law y gallaf sefyll,
Yn dy law y dof i'r lann,
Yn dy law byth ni ddiffygiaf,
Er nad ydwyf fi ond gwan.

Am fy mod i yn y rhyfel,
Yn y rhyfel nos a dydd,
Dyna p'am yr wy'n hiraethu
Cymmaint am gael cario'r dydd:
Maith rifedi fy ngelynion,
Wnaeth i'm ganu'n drist fel hyn,
A chael fy nghwympo'r hyd y creigydd
Wnaeth i'm frefu am Sion fryn.

Nid oes enw 'mhlith angelion,
  Y'mhlith dynion, ac ni chaed,
All fod i mi'n ddinas noddfa,
  Yn unig ond Iachawdwr rhad,
Mae'r afonydd rwy'n myn'd trwyddynt,
  A'r tonnau mawrion mor ddirif;
Nad oes dim ond nerth trag'wyddol,
  Ddeil fy enaid yn y llif.

HYMN 10. M. 8, 7.

*Arweiniad y golofn i'r Canaan nefol.*

TYR'D i fynu o'r anialwch,
  Wedi aros yno'n hir,
Sypiau grawnwin mawrion addfed,
  Sy'n dy aros yn y tir,
Brysia i ryfel, gwisg dy arfau,
  Cymmer galon, dos y'mlaen,
Ffordd ni's colli, mae'n dy arwain,
  Gwmmwl niwl a cholofn dân.

Nid fy nef yw ar y ddaear,
  Pe goreu man tan gwmpas haul;
Fy nef yw tawel bresennoldeb,
  Wyneb siriol Adda'r ail:
Gwena arnai Arglwydd grasol,
  Gwaeddai allan digon yw,
Yn y'nghanol cyfyngderau,
  Byth yn llawen byddai byw.

Gwnes y dewis goreu wnaethpwyd,
  Dewis Brenin nefoedd wen,

Yn Dad, yn Briod, ac yn Gyfaill,
  Yn Frawd, yn Geidwad, ac yn Ben:
Cyfoeth mawr diddrai difesur,
  Sydd y'nghadw i mi'n stor,
A bendithion oll pe rhifid,
  Megis tywod mân y môr.

Môr sydd ynot o fendithion,
  Heb waelodion iddo'n bod,
Y mae'n llanw y'mlaen bob mynud,
  Nid oes diwedd ar dy glod;
Dy enw beunydd sy'n ymdaenu,
  Fel goleuni'r bore wawr;
Bydd telynau'n canu iddo,
  Fel rhifedi gwellt y llawr.

## HYMN II. M. 8, 7.

*Diangc am dy einioes. Gen. xix, 17.*

Y Mae'r oriau yn fy ngalw,
  'N ddyfal beunydd i bar'toi,
Tân sy'n d'od ar ddinas distryw,
  Tua Soar i mi ffoi;
Arglwydd 'mafael yn'wi'n fuan,
  Onité ni ddeuaf byth;
Tra bo'r tân yn llosgi Sodom,
  Yn y bryniau gwna fy nyth.

Nerth os caf mi frysiaf mwyach,
  I fynu tua'm gwlad fy hun,
Lle mae fy Nuw yn gwisgo'n berffaith,
  Mewn gogoniant natur dyn:

Na enwer i mi gartref bellach,
Fangre arall ond y ne',
Neb yn Dad, na neb yn Briod,
Neb yn Arglwydd ond efe.

Yno boed fy mwyd a'niod,
Tan ganghenau gwych y pren,
Sydd â'i wreiddyn ar y ddaear,
Ei frigau yn y nefoedd wen:
Dyn a'r Duwdod ynddo'n trigo,
Ffrwythau arno'n tyfu'n llawn,
Cysgod tano i'r ffyddloniaid,
Sydd o foreu hyd brydnawn.

Yn dy glwyfau di mae bywyd,
Dwyfol haeddiant yw fy nyth,
Nid ofnai fyd, na chnawd, na phechod,
Nac euogrwydd yno byth;
Gwaed fy Mhriod wedi ei golli,
Archoll fawr y wayw-ffon,
Yw fy nghraig a'm dinas noddfa,
Sicr ar y ddaear hon.

## HYMN 12. M 8, 7.

*Goruchafiaeth ffydd ar angrediniaeth.*

TYRED Arglwydd i'r anialwch.
Fel y buost ti o'r blaen,
Arwain eiddil lleg difedr.
A dy golofn niwl a thân:
Dal fy yspryd sy'n llewygu,
Gan ryw ofnau o bob man,

Yn dy allu'r wyf yn gadarn,
  Hebot ti nid wyf ond gwan.

Cyfod haul sy'n rhwygo'r tyw'llwch,
  Chwal y beiau mwya' cudd,
Gyrr holl ofnau anghrediniaeth,
  Fel y nos o flaen y dydd:
Rho im' wel'd yr ardal hyfryd,
  Man lle mae fy ngobaith gwell,
A chael pleser yn yr anial,
  I edrych ar y gwledydd pell.

Yma rhed yr afon allan,
  Ffrydiau ar ol ffrydiau o hyd,
Gloyw ddw'r di-drai di-gymmysg,
  Sydd yn golchi beiau'r byd:
Pa'm dychryna'r euog aflau,
  Heibio'r aeth cymmylau'r nen,
Dyma le i gladdu euogrwydd,
  Yn y beddrod tan y pren.

Ofni'r wyf ac etto canu,
  Canu wrth feddwl am y dydd,
Tan ymdrechu âg angau creulon,
  Yr â pob cadwyn gref yn rhydd:
Diwedd caru gwag bleserau,
  Dechreu hyfryd hael a hedd;
Byth yn dawel o bob gofid,
  Câf orphwysfa yn y bedd.

## HYMN 13. M. 8, 7.

*Ymnertha yn y gras sydd yng Nghrist Iesu.*

O fy enaid gwan nac ofna,
  Nid concwerio unrhyw fai,
Na gorchfygu cant o feiau.
  Rhwystra 'm hyspryd lwfrhau,
Gwel'd y gras sydd yn yr Iesu,
  Mor ddigonol yw i'r gwan,
Mewn dyfnderoedd angeu creulon,
  A ddeil f' yspryd llesg i'r lan.

Yn y rhyfel mi arosaf,
  Yn y rhyfel mae fy lle;
Boed fy ngenau wrth y ddaear,
  Boed fy llygaid tu a'r nef;
Doed y goncwest pryd y delo,
  Disgwyl wnaf nes gwawrio'r dydd;
Y caiff f' enaid blin lluddedig,
  Byth yn hollol fyn'd yn rhydd.

Etto unwaith mi dderchafaf,
  Un ochenaid tu a'r nef,
Ac a wylaf ddagrau'n hidl,
  Am ei bresenoldeb ef,
Pwy a wyr na chaf fy ngwrando,
  Gan Dywysog mawr y nen;
Ac na ddaw fy nymunidau,
  Trist hiraethlon oll i ben.

Farwel i chwi gyfeillion a gerais,
  Nid yw'ch cwm'ni, nid yw'ch gwedd,
Ni ddaw'r gorau o'm gyfeillion,
  Ond i'm danfon hyd y bedd:
Pan ddel angau chwi ffowch ymaith,
  Da i mi fod gennyf Dduw,
Ffrind ddaw gyda mi wedi'm farw,
  Hwnnw garaf tra f'wyf byw.

## HYMN 14. M. 8, 7.

*Dysgwyliad am heddwch yng ngwaed y groes.*

O NA chlywn yr utgorn arian,
  Yn cyhoeddi'n eglur iawn;
Bellach i fy enaid llwythog,
  Heddwch a maddeuant llawn,
O na ddeuai nerth i wared,
  Fel llifeiriant mawr ei rym,
Fel na allai'm nwydau pennaf,
  Mwyach ei wrthsefyll ddim.

Mi edrychaf ar i fynu,
  Deued t'wyll'wch, deued nos;
Os daw heddwch im' o un lle,
  Daw o haeddiant gwaed y groes,
Dyna'r man y gwnai fy nhrigfan,
  Yma y gobeithiaf mwy,
Nid oes iechyd byth i'm henaid,
  Ond mewn dwyfol farwol glwy'.

Dyma'r man y byddai farw,
  A fy ngolwg tu a'r nef;

Mi ddisgwyliaf hyd y wawr ddydd,
  Am ei bresenoldeb ef:
A phe cawn ond gwel'd y seren,
  Sydd yn blaenu bore'r wawr,
Wrth ei goleuni awn yn wrol,
  Trwy bob rhwystran fach a mawr.

Tan dy aden byddaf ddedwydd,
  Tan dy aden câf gasau,
A galaru yn ddrylliedig
  Am bob pechod a phob bai:
Tan ei aden, ar bob chwantau,
  Y câf fi fuddugoliaeth lawn,
Ac y câf ddifyrwch tawel,
  O foreu ddydd hyd brydnawn.

## HYMN 15. M. 8, 7.

*Sefwch ac edrychwch ar Iachawdwriaeth yr Arglwydd.*

IESU llawnder mawr y nefoedd,
  Gwrando lef un eiddil gwan,
Sydd yn gorwedd wrth dy orsedd,
  Ac yn codi ei lef i'r lan:
Yn dy iachawdwriaeth gyflawn,
  Er mor egwan wyf yn awr,
Cair fy ngweled ryw ddiwrnod,
  Yn disgleirio fel y wawr.

Dacco'r unig feddyginiaeth,
  Gadarn i druenus ddyn;

Mae pob gobaith wedi darfod,
  Maes o hono ef ei hun,
Trwm a llwythog yw fy meichiau,
  Poen euogrwydd sydd yn fawr,
Nid oes fan ond pen Calfaria,
  Galla'i ddodi mhen i lawr.

Marchog Iesu yn llwyddiannus,
  Gwisg dy gleddyf ar dy glun,
Ni all daear dy wrthsefyll,
  'Chwaith nag uffern fawr ei hun,
Mae dy enw mor ardderchog,
  Pob rhyw elyn gilia draw;
Mae rhyw arswyd trwy'r greadigaeth,
  Pan y byddoch di gerllaw.

Ac am hynny ti gai'r enw,
  Ti gai'r fuddugoliaeth wiw,
Ti gai'r clod, y nerth, a'r gallu,
  A'r gogoniant oll fy Nuw,
Fe geiff seintiau ac angelion,
  A cherubiaid pur yn un,
Seinio mawl i drag'wyddoldeb,
  Am it' wneud pabell gyda dyn.

## HYMN 16. M. 8, 7.

*Effeithiau y dwyfol leferydd yn darostwng pechod.*

O LLEFARA addfwyn Iesu,
  Mae dy eiriau fel y gwin;
Oll o mewn yn dwyn tangnefedd,
  Ag sy o anfeidrol rin;

Mae holl leisiau'r greadigaeth,
Holl ddeniadau cnawd a byd,
Wrth dy lais hyfrydaf tawel,
Yn distewi a myn'd yn fud.

Tyred Yspryd sancteiddiolaf,
Llwyr lanha dy dŷ dy hun;
Lladd y beiau yn fy natur,
O'r boreu-ddydd sydd ynglyn,
Gwna nghydwybod ynwi'n danllwyth,
Na ddioddefwyf unrhyw fai,
Ag sy'n gwneuthur oriau mywyd,
Fel rhyw oes o 'difarhau.

Achub, Arglwydd, mae'n ddiweddar,
Nid oes geny' ond byr brydnawn;
Ac mae'r fyddin sydd i'm herbyn,
Yn cynnyddu'n danbaid iawn,
Danfon allan saethau'r nefoedd,
Cuddia fi â dy gariad rhad,
A thro'r llu sy'n erbyn Sion,
Gan ryw ddychryn tu a'u gwlad.

Tyred Iesu i'r anialwch,
At bechadur gwael ei hun,
Ganwaith ddyrysodd mewn rhyw rwydau,
Rhwydau weuodd ef ei hun,
Llosg y dyrysni sydd o'm cwmpas,
Rho fi i sefyll ar fy nhraed,
Moes dy law ac arwain drosodd,
F' enaid gwan i dir ei wlad.

## HYMN. 17. M. 8, 7.

*Pwy yw hwn sydd yn dyfod o Edom?*

CAPTEN mawr ein hiechydwriaeth,
Welaf yn y frwydr hon:
Holl elynion ei ddiweddi,
Yn gorfod plygu ger ei fron;
Plant afradlon sy'n dod adre',
A fu 'mhell o dir eu gwlad;
Y rhai fu'n fudion sy'n clodfori
Duw am iechydwriaeth rad.

Wele 'r Iesu pen rhyfelwr,
Yn dod i'r lann o Edom wlad;
Ei wisg yn goch, ei fraich yn rymmus,
A'r ddraig yn glwyfus dan ei draed:
Am yr hyfryd fuddugoliaeth,
Mi gana 'm telyn fach yn awr,
Hyd nes delo yr hyfryd fore,
Y câf fi ganu 'r delyn fawr.

Pa pryd câf wel'd y tir dymunol,
Hyfryd baradwysaidd wlad,
Lle mae brodyr i mi filiwn,
Lle mae fy Mhriod a fy Nad;
Lle cai orphwys o fy llafur,
A gwellhau fy nghlwyfau 'n rad,
A chael gwledd dragwyddol berffaith,
Ar ben fy nhaith yn nhŷ fy Nhad.

Yno y llenwir fy nymuniad,
Er ei faint, ac er ei gri,
Fy holl wagter wneir i fynu,
O gyflawnder Un yn Dri.
Mi gaf yfed o ffynnonau,
Pleser ag sy'n dwfrhau,
A datguddiad pur o fywyd,
Annherfynol i barhau.

## HYMN 18. M. 8, 7.

*Crist yn bob peth i'r credadyn.*

WYNEB siriol fy anwylyd,
Yw fy mywyd yn y byd,
Ffarwel bellach bob eilynod,
Iesu 'mhriod aeth â 'mryd:
Brawd mewn myrdd o gyfyngderau,
Ffrind mewn mor o ofid yw,
Ni chais f' enaid archolledig,
Neb yn feddyg ond fy Naw.

Nid yw'r haul a'i faith fendithion,
Bywyd hardd y ddaear las,
Sy 'n llawenu pob creadur,
Yn enwedig llysiau 'r ma's;
'Dyw ei harddwch a'i oleuni,
A'i effeithiau ar y llawr,
Ond dim wrth eu cymharu
A rhinweddau Iesu mawr.

Maith drugaredd a gwirionedd,
A'r ffyddlondeb mwya ma's,

Sy fel haelwen liw yn ddisglaer,
  Trwy holl ranau'r pur ei ras;
Boed fy nhafod bythol tra fyddwyf,
  Gerdded ar yr anthem hyn,
Cariad pur yn dioddef marw,
  Tros becbadur ar y bryn.

Ac ni fydd mo dragwyddoldeb,
  Ddim yn ormod er ei hyd,
I ddatguddio hen ddyfnderoedd,
  Cariad Iesu mae's i gyd;
Holl rinweddau maith ei glwyfau,
  Poenau'r hoelion meinion llym,
A wna oesoedd i fyn'd heibio,
  Etto heb eu gweled ddim.

## HYMN 19. M. 8. 7. 4.

*Gweddi am nerth i fyned trwy anialwch y byd.*

ARGLWYDD arwain trwy'r anialwch,
  Fi bererin gwael ei wedd;
Nad oes ynof nerth na bywyd,
  Fel yn gorwedd yn y bedd.
    Hollalluog, &c.
  Ydyw'r un a'm cwyd i'r lann.

Dyro'r gelofn dân i'm harwain,
  A tho'r cwmwl niwl y dydd;
Dal fi pan bwy'n teithio'r anial,
  Geirwon yw fy ffordd y sydd,
    Rho im' fanna, &c.
  Fel na bo i'm' lwfrhau.

Agor y ffynnonau melus,
Sydd yn tarddu o'r graig i ma's;
'R hyd yr anial mawr canlyned
Afon iachawdwriaeth gras,
Rho im' hynny, &c.
Dim i mi ond dy fwynhau.

Pan bwy'n myned trwy'r Iorddonen,
Angau creulon yn ei rym.
Ti'est trengddi gynt dy hunan,
Pa'm yr ofnaf bellach ddim?
Buddugoliaeth, &c.
Gwna im' weiddi yn y llif.

Mi ymddiriedaf yn dy allu,
Mawr yw'r gwaith a wne'st erioed;
Ti ge'st angau, ti gest uffern,
Ti ge'st Satan dan dy droed,
Pen Galfaria, &c.
Nac aed hwnnw byth o'm cof.

## HYMN 20. M. 8, 7, 4.

*Griddfan am nerth i sefyll.*

MAITH yw'r nos a mawr yw'r ?wll
Y'nghanol torf o elynion cas, a'r llwch,
Arglwydd dyro di gwmpeini,
Nerth dy anorchfygol ras
Gormod gofid, &c.
Allu hebot yma fyw.

Dattod y cadwynau tynnion,
Rho fy enaid gwan yn rhydd,
Tynn fi 'n awr o'r bydew tywyll,
I gael gweled goleu 'r dydd:
Seren fore, &c.
Cyfod dros y bryniau draw.

Yr wy'n ofni temtasiynau,
Nid wyf fi ond llesg erioed;
Mae'r un wna'n ddigon abl,
Fyn'd â'm henaid tan ei thraed:
Gwaed yn llifo, &c.
Ar Galfaria'm deil i'r lan.

Er bod arna ofnau filoedd,
Pan y delo'r drwg y'mlaen;
Arglwydd dyro nerth i sefyll,
Fel y graig y'nhanol tân:
Gwaed yn llifo, &c.
Ar Galfaria 'm deil i'r llann.

Paid fy enaid gwan ag ofni,
Nid rhyw ddrygau sy'n nesâu;
Newydd da o dir y bywyd,
Sy ar y dyfroedd mawr didrai:
Gwaed yn llifo, &c.
Ar Galfaria 'm deil i'r lann.

HYMN 21. M. 8, 7, 4.

*Galar y Cristion oblegid ei anghredinaeth.*

MI feddyliais yn y bore,
Buaswn amser maith cyn hyn,

Wedi maeddu fy mhechodau,
Ac yn canu ar Sion fryn:
Swn y rhyfel, &c.
Ydyw'r man 'rwi etto yn byw.

Llawn o euogrwydd, llawn o ddychryn,
Llawn o boen, yw 'm henaid gwan;
Anghrediniaeth cryf yn haeru,
Byth na ddof oddi yma i'r lann:
Balm o Gilead, &c.
'N unig all wellhau fy nghlwy'.

Mae dyfnderoedd anghrediniaeth,
Wedi 'm rhoddi 'n llesg a gwan:
Pechod yn fy ngwneud i ofni,
Ofni yn fy rhwystro i'r lann:
Gwna im' gredu, &c.
Dyna 'm henaid wrth ei fodd,

Yr wy'n ofni yn fy nghalon,
Gan mor fychan yw fy ngrym,
Rhag ryw awr i'm temtasiynau,
Creulon i fy ngwneud yn ddim;
Nid oes gryfder, &c.
Trwy fy ysbryd mewn un man.

Sefwch bellach fy ngelynion,
Sy'n fy nghuro bron erioed;
Fy nal a wnaethoch yn ymddifad,
Cawsoch f' yspryd tan eich troed:
'Chydig oriau, &c.
Dof o'ch rhwydau oll yn lân.

Disgwyl 'r wyf ar hyd yr hir-nos,
Hiraethu am y bore ddydd;
Disgwyl clywed pyrth yn agor,
A chadwynau 'n myn'd yn rhydd;
O! na wawriai, &c.
Bore hyfryd Jubili.

HYMN. 22. M. 8, 7, 4.

*Erfyniad am fwynhad o Dduw i gynnal yn ofn angau.*

NID oes arnaf falch yn gorphwys,
Dim ond eisiau dy fwynhau;
Nid oes arall dan y nefoedd,
A all yn hollol fy iachau;
Rho dy gwm'ni, &c.
Cyn im' fyn'd i'r cefn-for glas.

Tynn yr offian hen o farw,
Sydd yn llechu tan fy mron;
Rho im' heddwch a gorfoledd,
Tra b'wyf ar y ddaear hon;
Na therfysged, &c.
F' enaid gwan y'ngrym y dw'r.

Mi dde's yma i'r anialwch,
Byd o newyn, byd o wae;
Heb un achos, heb un neges,
Ond yn unig dy fwynhau;
Hyn ei hunan, &c.
Fydd fy nghais tra byddwyf byw.

Dyma'n gwbl fy neisyfiad,
I mi gael bod yn dy gôl,

Er na theithiais etto nemmawr,
Na'd fi dynnu hynny 'n ol,
Gwna im' gadw, &c.
'Ngolwg tu a'r hyfryd wlad.

Mi gâf yn y wlad 'rw'yn myned,
Ddiengu 'n lân oddiar fy mhoen,
Gorphwys byth tu draw i ofid,
Gyd â'r addfwyn anwyl Oen,
Ni ddaw tristwch, &c.
Byth i mewn dros furiau 'r nef.

HYMN 23. M. 8, 7, 4.

*Hiraeth am fwynhad o Dduw, a byw iddo.*

Dal fy llygad dal, heb wyro,
Dal ef ar dy addewid wir,
Dal fy nhraed heb gynnyg ysgog,
Allan o dy gyfraith bur,
Boed d' orchymynion, &c.
I mi 'n gysur ac yn hedd.

'Cheisiais, Arglwydd, ddim ond hynny,
Treulio nyddiau hyd y bedd,
I dy garu a'th ryfeddu,
Ac ymborthi ar dy hedd,
Dyna ddigon, &c.
'Cheisiai 'nabod dim ond hyn.

Os agori di fy llygaid,
I gael gwel'd y cariad llawn,
Llifodd allan fel y moroedd,
Ar Galfaria un prydnawn,

Ti gal 'r cwbl, &c.
Roddaist i mi yn fy rhan.

A all y lleiaf nesu attat,
A chael etto dy fwynhau,
Heb un gorchudd ar dy wyneb,
Nac un gŵg i'm llwfrhau?
Dyma'r nefoedd, &c.
Wyf am gael tu yma i'r bedd.

Mi ddisgwyliaf dod a ddelo,
Deued bore, deued nos,
Deued corwynt a themhestloedd,
Nes cael profi gwaed y groes,
Gallu 'r nefoedd, &c.
Tyr'd i waered, dyma 'r awr.

## HYMN 24: M. 8, 7, 4.

*Buddugoliaeth trwy waed y groes.*

ENAID egwan paid ag ofni,
'Dyw d' elynion oll yn un,
Ond rhai eisioes wedi eu conc'ro,
Gan a wisgodd natur dyn,
Fe fynn weled, &c.
Pob rhyw elyn dan fy nhraed.

Gwaed y groes sy'n codi i fynu,
'R eiddil yn goncwerwr mawr,
Gwaed y groes sydd yn darostwng,
Cawri cedyrn fyrdd i lawr,
Gâd i'm deimlo, &c.
Awel o Galfaria fryn.

Dechre canu, dechre canmol,
Y'mhen mil o filoedd maith,
Fy Iesu, bydd y pererinion,
Hyfryd draw ar ben eu taith;
Ni bydd diwedd, &c.
Byth ar ganu iddo ef.

Yno câf fi dd'weyd yr hanes,
Pa fodd y dringodd eiddil gwan,
Trwy afonydd, a thros greigiau,
Dyrys anial serth i'r lann;
Iesu ei hunan, &c.
Gaiff y clod trwy eitha'r nef.

Ni bydd yno gofio beiau,
Dim ond llawn faddeuant rhad,
Poenau 'r groes a grym y cariad,
A rhinweddau maith y gwaed;
Darfu ofni, &c.
Daeth llawenydd yn ei le.

## HYMN 25. M. 8, 7, 4.

*Taer ddymuniad am wir ddatguddiad.*

O GWASGERWCH dew gymmylau,
I'r addewid rhoddwch le;
Nid i'r ddaear yma y'm ganwyd,
Trag'wyddoldeb yw fy lle,
'N ol tywyllwch, &c.
Daw o'r diwedd fore wawr.

Mi ddymunwn wel'd yn rhwygo,
Holl gymmylau mawr y nef,

I bechadur weled gronyn,
O ogoniant hyfryd ef:
O! datguddia, &c.
Degwch gwedd dy wyneb bryd.

Mae dy wedd yn drech na byddin,
O elynion mawr eu grym;
Nid oes yn'y nef na'r ddaear,
Saif o flaen dy wyneb ddim;
Gair o'th enau, &c.
A wna'r dywyll nos yn ddydd.

Pa'm yr ofnaf meiau mawrion,
Trymach ydyw marwol glwy';
Mwy yw gair o enau f' Arglwydd,
Na myrddiynau o honynt hwy;
Goruchafiaeth, &c.
Fydd yn hyfryd pan y del.

Y mae hiraeth yn fy nghalon,
Heddyw am gael gwel'd y dydd,
Caffo fy nghadwynau eu torri,
A fy enaid fyn'd yn rhydd;
Yn lle rhyfel, &c.
Dim ond swn caniadau hedd.

## HYMN 26. M. 8, 7, 4.

*Erfyniad dwys am bresenoldeb Duw.*

'RWY'N dy garu er nas gwelais,
Mae dy gariad fel y tân;

Iesu nid oes terfyn arnat,
Mae cyflawnder mawr dy ras,
Yn fwy helaeth yn fwy dwfn,
Gan-waith nag yw mhechod cas.
Fyth yn anwyl, &c.
Meibion dynion mwy a'th gâr.

## HYMN 28. M. 8.7,4.

*Ymroddiad hollol i ddisgwyl wrth Dduw.*

Wrth dy orsedd 'r wyf fi 'n gor-
Disgwyl am y ddedwydd awr, [wedd.
Pryd câf glywed llais gorfoledd;
Pryd câf wel'd fy meiau lawr:
Ti gai enw 'r &c.
Fuddugoliaeth it' dy hun.

Doed dy heddwch pryd y delo,
Mi ddisgwyliaf ddydd a nos;
Annherfynol ydyw haeddiant,
Haeddiant por dy angau loes:
Tyr'd yn fuan &c.
Mae dy hedd yn fwy na'r byd.

Dattod rwydau sydd heb rifo.
Wedi eu taenu draw o mlaen;
Llosg bob gefyn sy'n fy rhwymo,
A dy ddwyfol nefol dân:
Gwna i garcharor, &c.
Heddyw gael ei draed yn rhydd.

Dysg y galon drist i chwerthin,
Dysg i'r mudan seinio cân;
Dysg yr ofnus gwan i gludo
Uffern fawr i lawr o'i flaen:
Tro wylofain, &c.
Yn ganiadau Calfari.

Mil o werin chwarddai 'n loyw,
Pe caent wel'd fy mhen i lawr;
Gorfoleddent pe troe'r frwydr,
Gadarn gyd âg uffern fawr:
Dal fi i fynu, &c.
Y'nghanol pwys a gwres y dydd.

HYMN 29. M. 8, 7, 4.

*Duw yn ddigon yn wyneb pob gelyn.*

Mae gelynion i mi 'n chwerw,
Cedyrn y'nt a mawr ei grym;
Ond y rhai wy'n ofni fwya',
I ti fy Ior nid ydynt ddim:
Gair o'th enau, &c.
Gwympa fyrdd mewn mynud awr.

O distewch derfysglyd donnau,
Tra bwy'n gwrando llais y nef;
Sŵn mwy hôff a sain mwy hyfryd,
Glywir yn ei eiriau ef:
F' enaid gwrando, &c.
Lais tangnefedd pur a hedd,

Duw, nid oes neb ond ti dy hunan,
Ddaw â'm henaid llesg i'r lan,
Sydd yn suddo mewn dyfnderoedd,
Dyfnion tywyll ym mhob man:
Gwna i'm gredu, &c.
Credu a cherdded ar y môr.

Mae dy ysbryd di yn fywyd,
Mae dy ysbryd di yn dân;
Efe sy'n dywysydd holl fforddolion,
Cywir, sanctaidd, bur y'mlaen;
Cyfarwyddwr, &c.
Pererinion; arwain fi.

Yr wyf fi 'n canu i'r pererinion,
Ar y bryniau serth y sy,
Ar eu traed ac ar eu dwylaw,
Yn ceisio dringo fynu fry;
Ar fy neulin, &c.
Minnau ddof i ben y bryn.

## HYMN 30. M. 8, 7, 4.

*Prydnawn gofidus; bore gorfoleddus.*

CROESAU trymion sydd yn fynych,
Pan yr elo hi 'n brydnawn,
Dyfnder galar sydd yn esgor,
Ar lawenydd hyfryd iawn;
O am weled, &c.
Bore wawr yn dawel glir.

Wrth fy ngurno gan y stormydd,
Wrth fy maeddu gan y donn;
Wrth fy nryllio yn erbyn creigiau,
Blinais ar y ddaear hon:
O am ddyddiau, &c.
Pan ddarfyddo pechu yn lân.

Fe ddaw 'r groes ag sydd yn pert
I'm henaid heddyw grymmu lawr;
Ar y wawrddydd deg y fory,
A rhyw faith orfoledd mawr:
Mi ddisgwyliaf, &c.
Nes y gwawrio le ddedwydd awr.

O na chawn ddifyrru nyddiau
Llwythog, dan dy werthfawr groes;
A phob meddwl wedi ei glymmu,
Wrth dy berson ddydd a nos,
Tan dy gysgod, &c.
Mewn tangnefedd pur a hedd.

Dyna 'r man dymunwn drigo,
Wrth afonydd gloywon llawn,
Sydd yn llifo o ddw'r y bywyd,
O foreu-ddydd hyd brydnawn:
Lle cawn yfed, &c.
Hyfryd gariad byth a hedd.

## HYMN 31. M. 8, 7, 4.

*Anchwiliadwy olud gras.*

Y MAE rhinwedd gras y nefoedd,
O drag'wyddol faith barhad;

es diwedd byth ar effaith,
Perffaith haeddiant Crist a'i waed:
Ac er golchi, &c.
Disglaer fydd yr afon byth.

Minnau ddof i'r ffynnon loyw,
'Darddodd allan ar y bryn;
Ac mi olcha 'm henaid euog,
Ganwaith yn y dyfroedd hyn:
Myrdd o feiau, &c.
Dafiai lawr i fyn y dw'r.

Iachawdwriaeth rad ei hunan,
Yw fy nadl o flaen y nef;
A ffarwel am dabi fythol,
Oni chaf ei haeddiant ef:
Iesu ei hunan, &c.
Oll o flaen y fainge i mi.

Ganddo mae afonydd mawrion,
O ffyddlondeb ac o hedd;
Er fy mwyn dioddefodd angau,
A gorweddodd yn y bedd:
Fel y gallwn, &c.
Fyn'd i mewn i'r ddinas bur.

Ffordd nid oes o waredigaeth,
Ond a agorwyd ar y pren;
Llwybr pechaduriaid euog,
I mewn i byrth y nefoedd wen:
Dyma 'r gefn-ffordd, &c.
Gwna im' ei cherdded tra f'wyf byw.

## HYMN 32. M. 8, 7, 4.

*Da yw gobeithio, a disgwyl ynddistaw, &c.*

Wrth dy orsedd 'r wyf yn gorLlefain fore a phrydnawn, [phwys,
Am gael clywed llawn ddistawrwydd,
O'm heuogrwydd tanllyd iawn:
A thangnefedd, &c.
Pur o mewn yn cadw ei le.

Wrth dy orsedd di mae bywyd,
Yno câf fi hedd a grym;
Ac ni fethodd is y nefoedd,
Ag a geisiodd gennyt ddim,
Minnau aflan, &c.
Ddeuaf at orseddfa rad.

Tyr'd am hynny Iesu yn fuan,
Sâf o blaid yr euog gwan,
Sy'n lluddedig gan gystuddiau,
Dyfnion, trymion, y'mhob man:
Yn dy glwyfau, &c.
Caiff fy lloches innau fod.

Yn y ffynnon a agorwyd,
Yn dy ystlys ar y pren,
'Rwyf fi'n dod a'm gwisg yn aflan,
I'w channu yno 'n hyfryd wyn:
Mi dd'of allan, &c.
Fel yr eira ar y bryn,

Mae e'n maddeu beiau mawrion,
Ac yn caru yn ddidrai;
A lle caro, mae ei gariad
Yn drag'wyddol yn parhau:
Nid oes terfyn. &c.
Ar ei gariad, ar ei ras.

HYMN 33. M. 8, 7, 4.

*Erfyniad am fyw dan ei gysgod ef.*

Rho gydwybod wedi ei channu,
Yn baraidd yn y dwyfol waed,
Cnawd a natur wedi eu maeddu,
Clwyfau wedi cael iachâd,
Minnau 'n aros, &c.
Yn fy ninas fore a hwyr.

Dychwel im' gysuron gloyw,
Fel y dyddiau goreu erioed,
Gâd im' gerdded fel yn fachgen,
Etto unwaith wrth dy droed
A chael aros, &c.
Tan dy gysgod nos a dydd.

Dyma 'r man dymunwn aros,
O fewn pabell bur fy Nuw,
Uwch terfysgoedd ysprydoedd,
A themtasiwn o bob rhyw,
Tan awelon, &c.
Peraidd hyfryd ty fy Nhad.

Tan dy adan y rhyfelaf,
  Yno'n unig mae fy ngrym;
Tan dy aden y gorchfygaf,
  Ynte ni orchfygaf ddim:
    Neb ond Iesu, &c.
  Fostia'm henaid tra f'wyf byw.

Mae deng myrddiwn o rinweddau
  Dwyfol yn ei enw pur;
Yn ei wedd mae tegwch rhagor,
  Nag a welodd môr na thir!
    Rhosyn Saron, &c.
  Oll yn hawddgar yw efe.

HYMN 34. M. 8, 7, 4.

*Cwyno oblegid llygredd, ymbil am faddeuant.*

DYMA Geidwad i'r colledig,
  Meddyg i'r gwywedig rai;
Dyma un sy 'n caru maddeu,
  I bechaduriaid mawr eu bai:
    Diolch iddo, &c.
  Byth am gofio llwch y llawr.

Chwilio am danat addfwyn Arglwydd,
  Mae fy enaid yma a thraw,
Teimlo 'mod i yn berffaith ddedwydd,
  Pan y byddost ti gerllaw:
    Gwedd dy wyneb, &c.
  Yw fy mywyd yn y byd.

Mae fy nwydau wedi mlino.
  Ganwaith yn yr ardel hyn;
Lle b'wyf fi maent hwythau yno,
  Boed ar foroedd, boed ar fryn:
    O am deimlo, &c.
  Rhyddid paradwysaidd dir.

Ti faddeuaist fyrdd o feiau.
  I'r pechadur gwaetha 'i ryw;
Arglwydd, maddeu etto i minnau.
  Ar faddeuant 'r wyf yn byw:
    Boed dy haeddiant, &c.
  I mi 'n ymffrost ac yn rym.

Da yw 'r groes, a da yw 'r gwasgfa.
  Da yw temtasiynau llym,
Oll i'm tynnu o'r creadur,
  O fy haeddiant, o fy ngrym;
    Minnau 'r truan, &c.
  Ffo'f dan aden Brenin nef.

## HYMN 35. M. 8, 7, 4.

*Deisyfiad.*

ARGLWYDD grasol, dyro gymhorth.
  I gyhoeddi 'n eglur iawn;
Dyfnder calon dyn truenus,
  Ac anfeidrol ddwyfol ddawn:
    Fel bo'r truan, &c.
  Yn cael trysor nef yn rhad.

Tarian gadarn yw dy enw,
Pan bo'r gelyn yn nesâu;
Angau ei hunan sydd yn ofni,
Angau sydd yn llwfrhau:
Ti orchfygaist, &c.
'Does ond canun 'n awr i mi.

O 'sgrifenna 'n eglur, eglur,
Mewn llyth'renau llawn i gyd,
Bob rhyw sillaf bach o'th gyfraith,
Ar fy mynwes yma 'nghyd;
Fel na anghofiwyf, &c.
Fyth dy eiriau mawr eu pris.

Boed fy nghalon i ti'n deml,
Boed fy yspryd i ti'n nyth;
Ac o fewn y drigfan yma,
Aros Iesu, aros byth:
Gwledd wastadol, &c.
Fydd dy bresenoldeb im'.

## HYMN 36. M. 8, 7, 4.

*Mae efe oll yn hawddgar.*

WELE'n sefyll rhwng y myrtwydd,
Wrthddrych teilwng o fy mryd:
Er o'r braidd yr wy'n adnabod,
Ei fod uwchlaw gwrthddrychau'r byd:
Henffych fore, &c.
Caf ei weled heb un llen.

Rhosyn Saron yw ei enw,
Gwyn a gwridog hardd ei bryd;
Ar ddeng mil mae yn rhagori,
O wrthrychau penna'r byd:
Ffrind pechadur, &c.
Dyma ein llywydd ar y môr.

Beth sydd i mi mwy a wnelwyf,
Ag eilunod gwael y llawr?
Tystio'r wyf nad yw eu cwmni,
Yw cymharu a'm Iesu mawr:
O am aros, &c.
Yn ei gariad ddyddiau f' oes.

Gwelaf graig a'm deil mewn stormydd,
O gawodydd dw'r a thân:
Yn wyneb uffern a'i rhuthriadau,
Holl breswylwyr hon a gân;
Cadarn sylfaen, &c.
A osodwyd gan y Tad.

### HYMN 37. M. 8, 7, 3.

*Galwad i wledd yr Efengyl.*

DEUWCH hil syrthiedig Adda,
Daeth y Jubil fawr o hedd;
Galwad llawn i bawb o'r enw,
I fwynhau trag'wyddol wledd;
Bwrdd yn llawn, yma gawn.
O foreu-ddydd hyd brydnawn.

Ceisiwch wisgoedd y briodas,
  Gwisgoedd hyfryd hardd eu lliw;
Nid oes enw teilwng arnynt,
  Ond cyfiawnder pur fy Nuw:
Lliain ma'in, ydyw'r rhai'n,
Sydd yn cuddio pob rhyw stain.

Da i mi fod yr addewid,
  Wedi ei rhoddi gan fy Nuw,
A bod gair o enau'r brenin,
  Uwch gelynion o bob rhyw;
Ei 'ddewid ef, gadarn gref,
A arwain eiddil gwan i'r nef.

O gwna i mi brofi sypiau,
  Sypiau peraidd rawn y wlad,
Blas maddeuant pur a heddwch,
  Gwleddoedd hyfryd tŷ fy Nhad:
Dyma hwy, perlau mwy,
Glodd'wyd yn ei farwol glwy'.

HYMN 39. M. 8, 7, 3.

*Digonolrwydd aberth y groes.*

DACCW'r ffynnon wedi ei hagor,
  A ddisgwyliodd llawer oes,
Yn awr yn llifo fel y grisial,
  O'i ystlys sanctaidd ar y groes;
Dw'r a gwaed, rydd iachâd,
I'r pechadur mwya' gaed.

Dacow gariad fel yr afon,
Dacow heddwch fel y llif,
Wedi'm mrodyr gael ei feddu,
Brodyr anwyl fwy na rhif;
Gyda hwy, caiff fod mwy,
F' enaid heb na briw na chlyw'.

Minnau bellach orfoleddaf,
Mae fy mywyd gwerthfawr iawn,
Wedi ei roddi y'nghudd i gadw
Mewn Cyfryngwr perffaith llawn;
Digon yw, mae fe'n Dduw,
Ceidw f' enaid bach yn fyw.

## HYMN 39. M. 8, 7, 3.

*Dymuniad enaid am rym duwioldeb.*

TYRED, Arglwydd, ar amseroedd,
Mae fy enaid am fwynhau,
Pur dangnefedd heb demhestloedd,
Cywir, tawel i barhau;
Hyfryd hedd, tu draw i'r bedd,
Nad oes ond dy blant a'i medd.

Na'd fi adeiladu'n ysgafn,
Ar un sylfaen is y ne',
Na chymmeryd craig i orphwys,
Tu yma i angau yn dy le:
Ti fy Nuw, tra f'wyf byw,
Gaiff fod fy nghorphwysfa wiw.

Pan y collwyf wedd dy wyneb,
  Pan anghofiwyf waed y groes,
Dyna'n dyfod fel y diluw,
  Dywyll anial ddyrys nos:
Gradd o ffydd, wedi'n sydd,
Dawel deg yn d'od â dydd.

Dal fi'n gadarn hyd nes delo,
  Amser hyfryd o rhyddhau,
A chael yn lle temtasiynau,
  Yn dragywydd dy fwynhau;
Dyna'r bryd, gwyn fy myd,
Derfydd fy ngofidiau i gyd.

## HYMN 40. M. 8, 7, 3.

*Ymdrech ffydd, a dedwydd fuddugoliaeth.*

MI dybygwn gwelai'r bore,
  Haul yn codi oddi draw,
Iachawdwriaeth rad yn nesu,
  Hedd a p ardwn yn ei llaw;
Y mae'r wawr, hyfryd awr,
Am ddisgleirio ar lwch y llawr.

Minnau ar y mur ddisgwyliaf,
  Gwn nad oeda ei sanctaidd droed;
Ni w'radwyddwyd is y nefoedd,
  A ddisgwyliodd wrtho erioed;
Doed y dydd, Amen yn brudd,
I'm henaid egwan fyn'd yn rhydd.

Fel y gallwyf orfoleddu,
Byw yn wastad yn dy hedd,
Edrych angeu yn ei wyneb,
Ymhyfrydu yn y bedd:
Myn'd yn rhydd, ddedwydd ddydd,
Mi wela'r bore clir trwy ffydd.

Mi gaf fod o flaen yr orsedd,
Yn canu'r anthem hyfryd bur;
Pan ddarfyddo son am ddaear,
Son am foroedd, son am dir:
Dwyfol loes, angau'r groes,
Fydd y canu ddydd a nos.

## HYMN 41. M. 8, 7, 3.

*Aberth y groes, a'i rhagorol ffrwythau.*

O Fy enaid nac anghofia,
Ymdrech Iesu yn yr ardd;
Ei riddfanau ef a'i boenau,
Wrth glirio'n llwyr ei gyfraith hardd:
Iesu yw'r Iawn, daliad llawn,
A ddioddefodd un prydnawn,

Wele'r gronyn gwenith nefol,
Wedi syrthio i'r ddaear lawr;
Gan iddo farw ni bydd unig,
Ei ffrwyth a fydd fel gwlith y wawr:
Cair gweled fry, aneirif lu,
O ffrwyth marwolaeth Iesu cu.

Wele'n chwysu'r dafnau gwaedlyd,
Ar noswaith rewlyd yn yr ardd;
Iesu siriol, rhosyn Saron,
O hwn bendithion pawb a dardd:
Ein haberth yw, a'n bara byw,
Dioddefodd dân digofaint Duw.

Dod gyfiawnder y Messiah,
I dd'od am danaf i'th wydd di,
A chyfiawnder egwyddorol;
Anian fywiol ynof fi;
O na bawn, yn llestr llawn,
O bob rhyw nefol ddwyfol ddawn.

Dy air sy ddigon i fy arwain,
Trwy'r anialwch maith y'mla'n,
Mae fe'n golofn oleu eglur,
Weithiau o niwl, ac weithiau o dân,
Llusern yw, oleu wiw,
I oleuo'n deg holl deulu Duw.

## HYMN 42. M. 8, 7, 6.

*Ni a gawsom y Messiah.*

WELE cawsom y Messiah,
Gyfaill gwerthfawrocca' eriod;
Darfu i Moses a'r Prophwydi,
Dd'weyd am dano cyn ei dd'od:
Iesu yw, gwir Mab Duw,
Efrind a Phrynwr dynol-ryw.

Hwn yw'r Oen ar ben Calfaria,
Aeth i'r lladdfa yn ein lle:
Swm y dyled mawr fe'i talodd,
Ac a groesodd filiau'r ne',
Trwy ei waed. i ni caed,
Fythol heddwch a rhyddhad.

Ga'dd cyfiawnder ei foddloni.
Ca'dd y gyfraith ei chwblhau;
Duw a ninnau fu'n elynol,
Yn heddychol gwnawd y ddau;
Fe wnaeth ben, 'nawr mae'r llen;
Wedi rhwygo o'r ddae'r i'r nen.

Dyma Gyfaill haeddai 'i garu,
A'i glodfori 'n fwy nag un;
Prynu'n bywyd, talu'n dyled,
A'n glanhau a'i waed ei hun:
Frodyr dewch, llawenhewch,
Diolchwch iddo byth na thewch.

## HYMN 43. M. 8, 8, 8.

*Llawn fuddugoliaeth ar bob gelyn yn angeu.*

Mi deithiais ran o'r anial maith,
Dwy'n deall pellder pen fy nhaith,
Mewn gwledydd sychion dwr nid oedd,
Ond disgwyl 'rwyf yn ddyfal iawn
O'r nefoedd ddw'r a sypiau grawn,
Wna'm henaid egwan wrth ei fodd.

O'r graig y mae'n dylifo'n awr,
Yn afon ddisglaer loyw i lawr,
  Sef craig yr oesoedd gadarn yw:
A thyna'r man y gwnaf fy lle,
Tan gysgod tawel furiau'r ne',
  Lle câf ddiddanwch tra f'wyf byw,

Mae brodyr i mi aeth ym mla'n
Trwy ddyfnach dw'r a phoethach tân,
  Ac etto gorchfygasant hwy,
Mae'r unrhyw allu i'm dal i'r lann,
Er nad wyf fi ond llesg a gwan,
  Pa ham yr ofnai'm henaid mwy?

Yn ymchwydd yr Iorddonen gref,
Dal f' enaid afael ynddo ef,
  Mae'r tonnau'n fawrion iawn eu grym;
Af trwyddynt er nad wyf ond gwan,
Os deli di fy mhen i'r lann,
  Fydd tonnau mawrion i mi ddim.

## HYMN 44. M. 8, 8. 8.

*Ie, pe rhodiwn ar hyd glyn cysgod angeu,*

MAE dydd at ddydd yn d'od i ben.
A'm taith drafferthus is y nen,
  Fe ddirwyn amser at y nôd;
Ac yna 'mhechod a gaiff friw,
A thyna'r pryd concweria'm Duw,
  Bob rhyw ffieidd-dra fu ynwi erioed,

Os ydwyt am fy nhorri i lawr,
O dwrf a dwndwr daear fawr,
A'm rhoddi i orwedd yn y bedd:
O anfon waedd ar foreu-ddydd,
O'm rhwymau mawr i'm rhoddi'n rhydd,
I fyw byth bellach yn dy hedd.

Dwy'n ofni ond yr afon ddu,
Sydd rhyngwy' a fy nghartre fry,
Yr angau glas wnaeth fyrdd yn wan;
Fy enaid 'mafael yno'n llaw,
Yr hwn ei hun aeth trwyddi draw,
Ac yn ei law mi ddo'f i'r lann.

Dy fraich sydd gadarn iawn o rym,
Mae'n drech na'r gelyn mwy llym,
Mwy nerth dy air na dw'r na thân:
O tyrd'd i'r frwydr mae'n brydnawn,
A saetha'r fall yn llymion iawn,
O dal fi i'r lann a dwg fi 'mlaen.

## HYMN 45. M. 8, 8, 8.

*Gorfoledd yr iechydwriaeth.*

GWNAWD concwest ar Galfaria fryn,
Am dano canodd myrdd cyn hyn;
Fe faeddwyd uffern faith i gyd:
Fe brynwyd gwael golledig ddyn,
Fe wnawd y ddwyblaid ddig yn un,
A gwaed Iachawdwr mawr y byd.

O beb trysorau tan y nef,
Y pennaf yw ei heddwch ef,
Ei fath ni fedd yr India fawr:
Yn unig hwn a'm ceidw'n hy,
Yn erbyn g'lynion mwya cry',
Na chaffont byth mo mhen i lawr.

Rhyw ddyfais o anfeidrol faint,
Oedd cariad Iesu at ei saint,
Agorodd ffordd i ganol nef:
Cariad heb gymhar iddo'r un,
A noflodd yn ei waed ei hun
Trwy angeu, oedd ei gariad ef.

Boed oesoedd meithion fwy na mwy,
Heb rif, heb ddarfod arnynt hwy,
I ganu am dy ddirfawr boen;
Na thawed tafod o unrhyw,
Na dim o dan y nef sy'n byw,
Byth sôn am goncwest addfwyn Oen.

## HYMN 46. M. 8. 8, 8.

*Gorfoledd yr iechydwriaeth.*

Ni's gall angylion nef y nef,
Fynegi maint ei gariad ef,
Mae angau'r groes yn drech na'n dawn;
Bydd canu uwch am Galfari,
Nag glywodd yr angylion fry,
Pan ddelo Salem bur yn llawn.

Am iddo farw ar y bryn,
Ca'dd f' enaid bach ei gannu'n wyn,
A'i dynnu o'i gadwynau'n rhydd;
Byth bellach tan ei haeddiant ef,
Fel cysgod cedrwydden gref,
Gorphwysai mwy y'ngwres y dydd.

Câf yno ddedwydd, dawel fyw,
Uwch brâd gelynion o bob rhyw,
O swn y drafferth, a phob gwae;
A threulio trag'wyddoldeb mwy,
I gano am ei ddwyfol glwy',
Mewn anthem fythol i barhau.

Y trysor pennaf heddyw yw,
O fewn y nefoedd, gwaed Mab Duw,
Holl sylwedd y cariadau i gyd;
A thyna'r gwaed a roddodd iawn,
I ddwyfol ddigter, perffaith llawn,
Fy hedd a'm cysur yn y byd.

## HYMN 47. M. 8, 8. 8.

*Digonedd y Credadyn yn Nuw yn unig.*

WEL, dyma'r Cyfaill gorau ga'd,
Mae'n gan mil-gwell na mam na thad:
Y'mhob caledi ffyddlon yw:
Mae'n medru madden a chuddio bai,
Ac o'i wir fodd yn trugarhau,
With bechaduriaid gwael eu rhyw.

Y sawl a'th gaffo gwyn fyd hwy,
Ni allant byth ddymuno mwy,
Ti lenwi eu heisiau oll yn llon;
Mae mor a thir, a da a dyn,
Oll yn dy heddwch di dy hun,
A mwy nag fedd y ddaear hon.

Anghenus wyf bechadur gwan,
Am hyn 'r wy'n tynnu tu a'r lann,
Yn gweled digon gan fy Nuw:
Trysorau pe cawn eu mwynhau,
A laddai 'ngofid, laddai 'ngwae,
Ac a ngwnai'n llawen tra f'wy'n byw.

Mae yn ei glwyfau drysor drud,
I faddeu beiau penna'r byd.
O flaen yr orsedd bura sydd;
Ni all euogrwydd yno ddim,
Fe gyll holl ddeddfau Sinai'n grym,
Maddeuant perffaith garia'r dydd.

HYMN 48. M. 8, 8, 8.

*Efe a rydd i chwi Ddiddanydd arall.*

'Rwy'n cofio gair fy Iesu mawr,
Y deu'r Diddanydd attat i lawr.
Na chawn i farw y dristwch mwy:
O Dduw cyflawn'th air i ben,
Rho im' arweinydd is y nen,
Dangoso'r ffordd iachao 'nghlwy'

O danfon im' 'r Diddanydd pur,
Y golofn dan mewn anial dir,
Sy'n ledio'r praidd o'r byd i'r nef:
Yr hwn a'i oleu perffaith sydd
Yn gwneuthur nos yn ganol dydd,
Fy holl ddiddanwch ydyw ef.

Mae 'th drugareddau maith eu rhin,
Yn do'd i lawr fel melus win,
O oes i oes heb drangc heb drai:
Dy gariad sy'n anfeidrol 'stor,
Yn gyflawn berffaith fel y môr,
Ac yn drag'wyddol yn parhau.

Wel, f' enaid cerdd y fferdd yn hŷ.
Yn union tua Sion fry,
A chadw 'th lygaid at y nod:
Calfaria fryn, lle gweli'r groes,
A'i haberth arni dan ei loes,
Rhyfeddod mwya 'r nef erio'd.

## HYMN 49. M. 8. 8, 8.

*Ymbiliau enaid llwythog am olwg ar ei etifeddiaeth.*

PA bryd y ffy cymmylau 'r nos,
Sy'n cuddio rhinwedd gwaed y gro's?
Pa bryd caf wel'd yn oleu glir,
Fy etifeddiaeth ddaeth i'm rhan,
Wrth goelbren nef mewn goreu fan?
O!'r hyfryd sanctaidd nefol dir.

Mae meddwl am yr oriau clir,
Gâf rodio'r paradwysaidd dir,
Ac yfed pleser sy'n parhau;
Mewn gwlad heb lewyrch haul na lloer,
Na therfysg tir na thwrf y môr,
Yn fy rhoi'n awr i lawenhau.

Datguddia'n gyflawn i mi ar frys,
Ogoniant maith dy nefol lŷs,
Didranc bleserau'r sanctaidd dir:
O dangos im' mai ti yw'm rhan,
A thyn fi o'r dyfnder mawr i'r lann,
I'th gyflawn weled cyn be hir.

Ffolineb mawr oedd aros cy'd,
Mewn gwledydd pell, a rhoddi 'mryd
Ar gibau gweigion dileshad;
Ond o'u hardaloedd 'r wyf yn troi,
A thua'r nefoedd gwna im' ffoi,
At haeddiant llawn y dwyfol waed.

HYMN 50. M. 8, 8, 8.

*Rhagoroldeb a chyflawnder yr Iesu.*

Ni welodd llygaid dyn erio'd.
Ni chlywodd clust o dan y rhôd,
Am neb cyffelyb iddo ef:
O Rosyn Saron, hardd ei liw,
Pwy ddatgan byth rinweddau'm Duw.
Efe yw bywyd nef y nef.

Gorchfygodd trwy angheuol glwy',
Elynion creulon nerthol fwy,
  Nag all sai'r byd orchfygu yn un:
Fe faeddodd uffern ehang lawn,
Ar ben Calfaria un prydnawn,
  Yn lan heb neb ond ef ei hun,

Fe welir Sion fel y wawr,
Er tlotted yw ei gwedd yn awr,
  Yn d'od o'r cystudd mawr i'r lann;
Heb glaf na chlwyfus yn eu plith,
Yn y cyfiawnder dwyfol byth,
  Saif yn y diwedd yn ei rhan.

Na boed im' feddwl ddydd na nos,
Ond cariad perffaith angau'r gro's,
  Hwn alwa 'i mwy yn orsedd gras;
Ar Galfari mae maingc y nef,
Yn agos at ei groesbren ef,
  Oddi yno rhoddir hedd i ma's

### HYMN 51. M. 8, 8, 8.

*Llawenhau mewn gorthrymderau.*

A RAID i gystudd garw'r gro's,
I ganlyn f' ysbryd ddydd a nos?
  Os rhaid, gwna fi yn foddlon iawn,
I'an ganu gwna im' fyn'd y'mla'n.
Sef canu yn y dw'r a'r tân,
  O foren mywyd hyd brydnawn.

Pan 'drychwy' i'r dwyrain faith neu'r
'Does neb yn anwyl fel efe : [de',
Mae'n gwneud fy yspryd llesg yn llon:
Dioddefaf golled o bob rhyw,
Y'mhresenoldeb pur fy Nuw,
A holl gystuddiau'r ddaear hon.

Ar unwaith 'rwy'n ymado 'n lân,
A phob eilynod fawr a man;
Ac nid wy'n 'mofyn yn eu lle,
Ond cwm'ni f' Arglwydd ar fy nhaith
Mewn llawnder neu galedi maith,
'Rwy'n drech na'r cwbl dan y ne'.

Mi dorra'r clymau oll i gyd,
Sydd rhyngwy' a theganau'r byd,
A holl gariadau gwag y llawr:
Mi 'dawef enwau brawd a ffrind.
A char a phriod anwyl fyn'd
Yn ddim er mwyn dy enw mawr.

## HYMN 52. M. 8. 8, 8, 6.

*Cariad Crist, yr hwn sydd uwchlaw gwybodaeth.*

DY gariad, Iesu, sydd yn awr,
Yn curo pob cariadau i lawr,
Yn llyngcu enwau gwael y llawr.
Oll yn ei enw ei hun;
Rhyw fflam angherddol gadarn gref,
O dân ennynodd yn y nef,
Trag'wyddol gariad ydyw ef,
Gwnaeth Dduw a ninnau'n un.

O Arglwydd Ion, anfeidrol yw
Dy gariad mawr at ddynolryw;
Ti drefnaist ffordd i gadw'n fyw,
Y gwana yn dy law:
Trwy'r gwaed; yn rhad, mae'r ffordd yn [rhydd
I ganol nef, fy enaid prudd;
O gwyn ei fyd pob perchen ffydd,
Byw hyfryd ddydd a ddaw.

Nid oes ond f'Arglwydd mawr ei ddawn
A leinw f' enaid bach yn llawn;
Ni's gallwn gynal mwy pe cawn,
Mae ef yn ddigon mawr:
Digonedd pob digonedd yw,
Dy hyfryd bresenoldeb gwiw,
Yn angau ceidw hyn fi'n fyw,
A boddlon wyf fi'n awr

## HYMN 53. M. 8, 8, 8, 6.

*Myfyrdod y Cristion ar ddydd ei ymddattodiad.*

PAN ymddattodo'r tŷ o bridd,
A'm henaid i ddiengu'n rhydd,
O'r holl gadwynau mawrion sydd
Yn dal yn awr yn dynn;
Caf deimlo pleser uwch y rhod,
Na ddaeth i galon dyn erio'd,
I feddwl nac i gredu fod,
Y fath fwynhad a hyn.

Mae'r dyddiau hir i lawenhau,
O awr i awr yn agoshau,

Fe dderfydd hyn o fywyd brau,
  Dihanga i'm dedwydd nyth:
Lle ni ddaw pechod, byd, na chnawd,
I aflonyddu f' enaid tlawd.
Y'ngwedd f' anwylaf hynaf frawd,
  Caf ymddigrifo byth.

Myfyrio am fyn'd sydd felus iawn,
I'r pur ardaloedd hyfryd llawn;
Mae f' enaid am gyn'fino ei ddawn,
  I chwareu ei aden glir;
Fel pe ba'i am anturio'n hy
Trwy ganol y cymmylau fry,
A neidio i mewn i blith y llu,
  Lle mae'r Messia gwir.

HYMN 54. M. 8, 8. 8, 6.

*Cuddiaist dy wyneb, a bum helbulus.*

PA beth a wnaf fi yma'n byw,
Y'mhell y'mhell oddiwrth fy Nuw,
Mewn gwledydd sychion drwg eu rhyw,
  Heb gael dy wir fwynhau:
Os llewyrch bach o oleuni cawn,
Ar ol cymmylau duon iawn,
Daw temhestl eilwaith cyn prydnawn,
  O ddychryn, aeth, a braw.

Mae ngofid yn yr ardal hon;
Yn do'd y'mlaen o donn i donn,
'Does ond griddfanau dan fy mron,
  'Dwy'n gwneuthur dim lleshad:

Y'mysg dieithriaid tanbaid hy,
Gelynion duon, creulon, cry,
Tan fin orthrymder llawer llu,
Y'mhell o dy fy Nhad.

O gwna im' wilio o awr i awr,
'Rwy'n rhodio mewn peryglon mawr,
Ac nid oes dim ond llewyrch gwawr,
Dy wyneb gwridog gwyn,
A wna i mi deithio'r anial nos,
'Rhyd llwybr cyfyng angau'r groes,
Myfyrio am dy farwol loes,
Ac hefyd canu hyn.

## HYMN 55. M. 8. 8. 8, 6.

*Cwyn credadyn dan deimlad o'i lesgedd.*

'Rwy' bron a hollol lwfrhau,
Wrth wel'd grasusau yn llesghau,
A'm temtasiynau yn parhau,
Yn danllyd yn y bla'n:
Doed hyfryd awel sanctaidd dir,
Tan aden dawel yspryd gwir,
Disgyned arnai cyn bo hir,
I ddiffodd grym y tan.

Rhaid i mi gael rhyw faint o'r grawn
Sy'n werthfawr ac yn felus iawn,
Yn tarddu o'r winwydden lawn,
A wasgwyd ar y groes:

Does dim a ddeil fy yspryd gwan,
I ddringo'r creigiau serth i'r lan;
Nes i mi deimlo a phrofi rhan
O haeddiant dwyfol loes.

'Rwy yma'n byw mewn tir o wae,
Lle mae pob dim i'm llwfrhau,
A themtasiynau yn parhau,
Fel rhyw angerddol dân:
O attal fy ngelynion cas,
Fy unig noddfa yw dy ras,
Ond im' gael profi ei nefol flas,
Dy ogoniant fydd fy nghân.

HYMN 56. M. 8. 8. 8, 6.

*Cysur yn angau, ac ymbil am lwyddiant yr Efengyl.*

FY noddfa gadarn fythol yw,
Y gair a ddaeth o enau 'm Duw,
Fe ddywedodd y cawn innau fyw,
Anfeidrol yw ei ras:
Mi welaf ol ei siriol saint,
Tan y cystuddiau mwya' eu maint,
Yn cadw eu cysur'n cadw eu braint,
Yn wyneb angau glas.

O addfwyn Iesu gâd im' fod,
O fewn dy gorlan dan dy nod,
A threulio mywyd er dy glod,
Yn gyflawn o dy hedd;

Y'nghanol terfysg a phob gwae,
Croes a chystuddiau'n amlhau,
Gan fyn'd y'mlaen tan lawenhau
Nes gorwedd yn y bedd.

Duw, os wyt am ddibennu'r byd,
Cyflawna'n gynta' d' air i gyd,
Dy etholedig galw ynghyd,
O gwmpas daear fawr;
Aed sain d' efengyl trwy bob gwlad,
A golch fyrddiynau yn dy waed,
A dyro iddynt wir iachad,
Ac yna tyr'd i lawr.

## HYMN 57. M. 6. 6. 8. 6.

*Ymorphwysiad y Cristion ar ffyddlondeb Duw.*

'RWY' yn terfynu 'nghred,
'Nol pwyso oll ynghyd,
Mai cyfnewidiol ydyw dyn,
Ond Duw sy'r un o hyd:
Ar ei ffyddlondeb ef;
Sy'n noddfa gref i'r gwan,
Mi greda' dol mhen gronyn bach,
O'r tonnau 'n iach i'r lann.

Cyfiawnder marwol glwy,
A haeddiant dwyfol loes,
Y pris, y gwerth, a'r aberth drud,
A dalwyd ar y groes;

A gân meddu'n llwyr,
A'm gylch yn hyfryd lân,
Ac nid oes arall dan y nef,
A'm nertha i fyn'd y'mlaen.

Wel deuwch tua'r wlad,
Y fford a gaed yn rhydd;
Ar ol rhyw noswaith dywyll gaeth,
'N awr gwawrio wnaeth y dydd,
Oddi yma i Peru;
Mae efengyl Duw yn rhoi bloedd;
Cyhoeddi i'r Negroes du' eu lliw,
Drugaredd Duw ar g'oedd.

Mae pen ein taith gerllaw,
Ar fyrder gwawria'r dydd,
I ddiange o'n cadwynau caeth,
A chanu'n berffaith rydd;
Y'nghanol tyrfa faith;
Pob llwyth a iaith a dawn,
Un sabboth heb na haul na lloer;
Na bore na phrydnawn.

Prysurwn yn y blaen,
Yn nes nes at y nod:
Nalwfrhawn, mawr yw ein braint:
Ni chollodd saint erioed:
Pob peth sy'n galw ar frys,
Am fyn'd tua llys ein Tad,
Lle cawn ni fwytta yn y man,
Danteithion Canaan wlad.

## HYMN 58.—M. B. D. 6, 6, 8, 6.

### Gorfoleddus—LONSDALE.

*Y cwmmwl tystion yn gysur i'r credadyn.*

O F' enaid dos y'mlaen,
'Dyw'r bryniau sydd gerllaw,
Un gronyn uwch, un gronyn mwy,
Na hwy a deithiaist draw:
Dy anghrediniaeth caeth,
A'th ofnau maith y sy,
Yn peri it' feddwl rhwystrau ddaw,
Yn fwy na'r rhwystrau fu.

Mi wela fyrdd dan sel,
Fu'n ofni fel fy hun,
'N awr wedi dringo'r creigiau serth,
I gyd yn nerth yr un;
Yn canu'r ochr draw,
Heb arnynt fraw na phoen,
Ganiadau hyfryd Calfari,
Dioddefaint addfwyn Oen.

'Does fodd im' fyn'd y'mlaen,
Heibio pob gelyn llym,
Oni fyddi di'n niwl a than,
Yn gledd a tharian im';
A rhwygo'r mor yn ddau,
Palmantu'r tywod man,
[illegible] yn ei gaead ar fy ol,
[illegible]wstro Pharao ym'lan.

Mi ddianga oddiar yr Aipht,
Er llesged yw fy llun,
A thi gai'r clod a'r mawl dilyth,
Yn gryno byth dy hun:
Ynghyd a'r dyrfa faith,
O'r moroedd daeth i'r lann,
Cawn seinio anthem bur ynghyd,
Yn hyfryd yn y man.

HYMN 59. M. B, D. 6, 6, 8, 6.

Galarus—WIGAN.

*Fy nerth i a berffeithir mewn gwendid.*

'RWY'N ofni 'm nerth yn ddim,
Pan elwy' i rym y donn;
Mae terfysg yma cyn ei ddo'd,
A syndod dan fy mron:
Mae ofnau o bob rhyw,
Oll fel y dilnw 'nghyd,
Yn bwgwth i fy nhorri i lawr,
Pan ddel eu hawr ryw bryd.

Mawriawn yw nerth y nef,
Mae ei arfaeth ef yn dan,
Yn llosgi y'mhob bryn a bro,
Bob rhwystrau fo o'i bla'n:
Mae gallu'r nef yn fwy,
Na'u dyfais hwy i gyd,
Fe lysg efengyl nef a'i san,
Fyrddy'nau o'r rhai'n ynghyd.

Mae'r llwybr heddyw 'n rhydd,
Ein Tywysog sydd y'mlaen,
Yn rhwygo yr holl donnau llym,
A diffodd grym y tan:
Bydd canu braf am hyn,
Yn Salem cyn bo hir,
Pan ddelo'r ddaear fawr a'r nef,
I seinio'r anthem bur.

Mae yr Iorddonen fawr,
Yn dal yn awr ei dw'r,
Ac Israel Duw trwy ganol hon,
Yn myn'd yn llon bob gwr:
Mae'n sefyll ynddi'r Arch,
Yn fawr ei pharch a'i bri,
Ac yno bydd ein ffyddlon ffrind,
Nes trw'odd fyn'd a ni.

Ni chaiff y dyfroedd maith
Ddim rhwystro ein taith ymlaen;
Fe grona'r dw'r, fe hyllt bob bryn,
Fe ddiffydd rym y tân;
'Does bobl a fedd fath fraint
A'r saint o dan y nef,
Sy'n cael eu dwyn trwy lif a thonn,
Yn ffyddlon atto ef.

### HYMN 60. M. B. D. 6, 6, 8, 6.

Gorfoleddus.—LONSDALE.

*Cysur y credadyn yn yr olwg ar ben y daith.*

I'R Iesu boed y clod,

Tra byddo bod na byd;
Efe oedd cyn y dilyw mawr,
Efe sy'n awr o hyd;
Yn gyfaill ac yn Dduw,
I bob rhyw lwyth ac iaith,
Cawn ninnau'n arwain uwch y nen,
Yn gryno i ben ein taith.

O fore llawn o hedd,
Bydd hon yn wledd o fri,
Pan y cyhoeddir Jubil lawn,
Yn hyfryd-iawn i ni,
A'r utgyrn arian llon,
Trwy'r ddaear gron a'u sain,
Yn seinio hedd i aflan ddyn,
Ie'r gwaelaf un o'r 'rhai'n.

Fe nertha hyn ein traed,
Fyn'd tua gwlad ein Duw,
Heb ddigaloni, na gwanhau,
Mewn tonnau o unrhyw:
Ond morio yn ein hynt,
Gyd â'r deheu-wynt clir,
A chyn machludo haul brydnhawn,
Meddiannu cawn y tir.

Ni deithiwn yn y blaen,
Cawn weled Canaan wiw,
A gwledda gyda'r dorf yn un,
Sy â'u gynau 'n wyn eu lliw:
Cawn fyn'd i mewn i'w plith,
Ac yfed byth o'u hedd,
Anfeidrol gariad perffaith gwiw,
Trag'wyddol yw y wledd.

## HYMN 61. M. B. D. 6, 6, 8, 6.

### Galarus.—NEW BURKE.

*Ymbil enaid cystuddiol am faddeuant.*

O GWRANDO weddi'r tlawd,
Ffyddlonaf frawd a gaed,
I'r rhai cystuddiol ym mhob man,
Sy'n 'mofyn am iachad:
Ti wyddost ti fy mhla,
Fy ngofid a fy mhwn,
Ac nid oes ond d' anfeidrol rym,
All symmud dim o hwn.

Mi ro' fy meiau'n llawn,
Yn uniawn o dy flaen,
O tafl hwy i fôr o anghof clir,
Mewn anial dir yn lân:
Na safed y rhai hyn,
Fyth yn fy erbyn draw,
Pan y cyhoeddir beiau cudd,
Yn oleu ddydd a ddaw.

Ond boed maddeuant rhad,
Y'ngwerthfawr waed yr Oen,
Yn destun moliant ym mhob man.
I mi sy dan fy mhoen:
Yr anthem faith ei hŷd,
Fo i gyd am Galfari.
A'r Iachawdwriaeth fawr ei dawn,
Ddaeth un prydnawn i mi.

Na foed im' garu mwy,
Un gwrth'rych is y ne',
Ond hwnnw a fu'n plygu ei ben,
Ar groesbren yn fy lle.
'Does dim, 'does neb ond ef,
Mewn daear nef na llawr,
Ac byth ni roddai i neb mo'r clod,
Sy'n eiddo'r Iesu mawr.

HYMN 62 M. B. D. 6, 6, 8, 6.

Galarus.—WIGAN.

*Dymuniad dwys am brofi rhinwedd y ffynnon.*

TI IESU, Frenin nef,
Fy arglwydd a fy Nuw,
Yn eitha pell o dŷ fy Nhad,
Mewn anial wlad 'rwy'n byw:
Mewn ofnau 'rwyf a braw,
Bob llaw gelynion sydd,
O addfwyn Iesu sâf o'm rhan,
A thyn y gwan yn rhydd.

Mae rhinwedd yn ei waed,
I fadden beiau mwy
Nag y gall angel fyth na dyn.
Wneud rhif o honyn' hwy:
Mae ffynnon ar y bryn,
A ŷlch yn wyn a glân,
Bechodau o ryw ffieiddia 'rioed,
Rhifedi'r tywod mân.

Iorddonen drŷ yn ôl,
'Roi lle i'r nefol hâd,
I etifeddu'r hyfryd fan,
Addawyd gan y Tad:
Ni all pechod nag un chwant,
Byth attal plant y nef,
I dreiddio trwy bob llif a thonn,
Yn union atto ef.

## HYMN 68. M. B. D. 6, 6, 8, 6.

Galarus—FRANCONIA.

*Hyder ar allu Duw yn wyneb pob gelyn.*

O ARGLWYDD tyr'd i lawr,
Mae'n frwydr chwerw iawn,
O foreu las-ddydd (heb ei hail)
Hyd fachlud haul brydnawn.
Mae meiau megis llu,
Yn gyndyn grŷ o ryw.
Ac nid oes dim a'u cwympa i lawr,
Ond gallu mawr fy Nuw.

Am hyn rhof arno 'mhwys,
Er maint eu cyfrwys lu,
Fel un cystuddiol mi ro' floedd,
I entrych nefoedd frŷ,
Mi goda'm dwylaw i'r lann,
Lluddedig, gwan a gwyw,
Ac ni anghredaf fyn'd yn rhydd,
Fy nghymorth fydd fy Nuw.

Mi gana' am waed yr Oen,
Er maint fy mhoen a'm mhla;
Ni cheisiai 'n wyneb calon ddu,
Ond Iesu 'r meddyg da:
Fy mlino ge's gan hon,
A'i throion chwerwon chwith,
Ond dyma'm sail i am y wlad,
Y cariad a bery byth.

HYMN 64. M. B. D. 6 6 8 6.

BRIDSTON.

*Taer ddymuniad am gongcwest ar elynion.*

FE enillodd Iesu'r dydd,
Mewn buddugoliaeth lawn,
Yn erbyn uffern fawr ei hun,
Yn gryno un prydnhawn;
Fe agorodd byrth y nen
Gan rwygo 'r llen, i'r rhai
Cystuddiol gorthrymedig gwan,
Sy 'n griddfan dan eu bai.

Mae meiau 'n fawr eu grym,
Megis rhyw fyddin gref,
Yn sefyll fel y creigiau serth
Yn erbyn nerth y nef:
Tyr'd anorchfygol ras,
Perch'noga 'r maes yn awr,
A thorr elynion mawr eu llid
Yn gryno i gyd i'r llawr.

'Rwi 'n ofni grym y dw'r
Yn yr Iorddonen gref;
Rwi 'n sylwi ar y creigiau maith
Sydd ar fy nhaith i'r nef:
Duw bydd yn nerth i'r gwan,
A dal fi i'r lan yn grŷ,
Tan demtasiynau genllif mawr
Sy'n llanw 'n awr 'n llu.

Cyflawnir gair fy Nuw,
A doed hi fel y del:
Can's holl amcanion nefoedd frŷ
Bob sillaf sydd dan sêl;
Ac ar ei air a'i nerth,
A dwyfol werth ei waed,
Mi âf trwy 'm holl elynion hŷ
I mewn i dŷ fy Nhad.

## HYMN 65. M. B. D. 6 6 8 6.

### LONSDALE.

*Deisyfiad enaid llwythog am brofi euriad Crist.*

MI a ddarfyddaf mwy
Yn lân â haeddiant dyn,
Ni chym'rir iawn ger bron y Tad,
Ond dwyfol waed ei hun:
Gofynion nef sydd faith,
Can's maent yn berffaith lawn,
Ni thrŷ cyfiawnder byth yn ol
Heb ryw anfeidrol iawn.

Dy glwyfau yw fy rhan,
Fy nhirion Iesu da,
Y rhai'n yw nerth fy enaid gwan,
Y rhai'n a'm llwyr iacha ;
Er saled yw fy ngwedd,
Er tlotted wyf yn awr,
Fy llenwi gaf â llawnder Duw
A'm gweled fel y wawr.

O Iesu 'r meddyg da
Iachâ fy enaid caeth,
A sicr seilia fi ar y graig
Uwchlaw y ddraig a'i saeth ;
Am ddiangc 'r wyf yn nes
I'th fynwes di fy Nuw,
O llanw fi yn yr anial wlad
A'th gariad tra fwi' byw.

## HYMN 66. M. B. D. 6 6 8 6.

### FRANCONIA.

*Hiraeth am y 'dawel orphwysfa.*

MAE tywyll anial nos,
Peryglon o bob rhyw,
Holl ofnau 'r bedd, pob meddwl gwan,
Yn ffoi o'r fan bo'm Duw :
Ond tegwch dwyfol clir,
A chariad pur a hedd,
Gaiff fod yn wleddoedd pur didrai,
I'r rhai sy 'n gwel'd ei wedd.

Mae mrodyr uwch y nen
Yn canu ar ben eu taith.
Er hyn hwyrfrydig iawn wyf fi,
Ac oedi lawer gwaith;
Ond bellach tyn fi 'n ddwys,
Ar Grist dod bwys fy mhen,
Yn Salem frŷ par'to fy lle
Mewn llŷs o fewn i'r llen.

Pererin llesg a llaith,
Dechreuais daith o bell,
Trwy lu o elynion mawr eu brad
Gan geisio gwlad sydd well:
Am ffoi mae f' enaid tlawd
At f' anwyl frawd a'm pen.
Yn Salem frŷ par'to fy lle,
Mewn llŷs o fewn i'r llen.

Rwy 'n gwel'd yr oriau 'n hir;
I fod o dir fy ngwlad;
'Bryd deuaf at fy mrodyr frŷ
Sy'n canu yn nhŷ fy Nhad?
Gael gorphen ar fy ngwaith
A'm dyrus daith is nen.
Yn Salem frŷ, &c.

## HYMN 67. M. B. D. 6 6 8 6.

### New Brunswick.

*Diogelwch y saint yn llaw eu Priod.*

DAETH bore i'r adar mân,
Ar dân i foli Duw;

Yn awr mae'r haul a'r hyfryd hîn,
Ar rai o'r wèrin wiw:
Fe ddaeth y jubili,
On'd braf yw'n bri a'n braint?
Cawn fyn'd adre ar fyr o dro,
I seinio gyd â'r saint.

'Does le i ni golli'r ffordd,
Mae niwl y dydd o'n blaen;
Fe'n tywysir trwy'r anialwch hir,
Gan golofn glir o dân:
Fe arwain Iesu'n wir,
Ni'n gywir yn ei law,
Trwy ganol maith sychedig dir,
I'r Ganaan bur sydd draw.

Mi ges arwyddion gwir,
O gariad pur fy Nuw;
Ei ras a'i dawel hyfryd hedd
I'm henaid rhyfedd yw;
Y'mhell o'r babell hon,
Mae nghalon gyd âg ef;
O ffrind troseddwyr tyn fi'n llon,
Yn union tua'r nef.

Mae'r manna wedi ei gael
Mewn dyrys anial dir,
Ymborthi câf ond myn'd y'mlaen,
Ar ffrwythau'r Ganaan wir:
Mae yno sypiau grawn,
Yn llawn o fewn y lle,
O ffrind troseddwyr tyn fi'n llon,
Yn union tua'r nef.

HYMN 68. M. B. D. 6 6 8 6.

WATERLOO,

*Llawenydd Sion am ddyfodiad y Messia.*

BLANT ffyddlon Sion dewch,
A llawenhewch igyd,
Y'mlaen â chwi fel milwyr da,
Yn llon er gwaetha'r llid;
O hyfryd ddedwydd awr,
Messia mawr a gaed;
Henffych i'r dydd a'r bore daeth,
Yr iachawdwriaeth rad.

Drachefn llawenhewch
Chwi etholedig ri',
Mae'r oruchafiaeth wedi do'd,
Trwy Crist ein pried ni;
Er cyfeiliorni'n hir,
Cawn dd'od i dir ein gwlad;
Henffych i'r dydd a'r bore daeth,
Yr iâchawdwriaeth rad.

Er i ni golli'r hedd,
Yn Mharadwysaidd wiw,
A bod yn fyrr o gadw'r fraint,
Myn'd tan ddigofaint Duw:
Ni gawsom had y wraig,
Yn gadarn graig i'n traed:
Henffych i'r dydd a'r bore daeth
Yr iachawdwriaeth rad.

Addewid gafwyd do,
'Nol i ni syrthio y'mhell,
Arfaethol ras hawl i ni roed,
Gaw'd ar gyfammod gwell;
Mae'r sylfaen yn ddigryn,
Ni chollir un or hed;
Henffych i'r dydd a'r bore daeth
Yr iachawdwriaeth rad.

Er gwaetha satan sydd,
Yn temtio ddydd a nos,
Mae gennym hawl i'r trysor da,
Sy'n para o oes i oes;
Ffordd newydd gafwyd do,
I deithio at y Tad:
Henffych i'r dydd a'r bore daeth
Yr iachawdwriaeth rad.

## HYMN 69. M. H. D. 8 8.

### LUTHER'S.

*Y Drindod ogoneddus yn wrthddrych clodforedd.*

Y RHYFEL c'n hoehr ni sydd,
Er cymmaint ein tuchan a'n cwyn;
Daw concwest i'r gwannaf ei ffydd,
Trwy waed yr Immanuel mwyn;
Mae hefyd y'nghartre' fy N..f,
Afonydd o laeth ac o fêl,
Tu ag yno trwy gymhorth yr âf,
A deued hi fel ag y dêl.

Mae yno Dri Pherson yn bod,
Ac etto mewn sylwedd ond Un,

Gogyfuwch mewn gallu a chlod,
I wared plant Adda'n gyttun;
Yn hyn rhyw ddyfnderoedd y sydd,
Diwaelod, anfeidrol o faint,
Er hynny eu credu trwy ffydd,
Yw cysur a sylfaen y saint.

'Does mesur amseroedd byth fry,
Dim oriau cyffelyb i'r byd;
Myn'd heibio rhyw oesoedd y sy,
Wrth ganu i'r Drindod ynghyd:
'R anrhydedd, a'r gallu, a'r clod,
A'r parch, a'r gogoniant, a'r bri,
Yr awr'on ac felly bu erioed,
I'n Harglwydd yn Un ac yn Dri.

Angylion, seraphiaid, a saint,
Wrth ganu'n soniarus ynghyd;
Eu hadsain fydd gyfuwch ei faint,
Nes dadsain holl nefoedd i gyd;
Neb yno yn glaear ei gân,
Na neb yn addoli mewn rhith.
Eu c'lonnau yn llosgi fel tân,
A gwynfyd a fa'i yn eu plith.

Pan gofiont eu dyddiau yn y byd
A'r amryw dymhestloedd o'r blaen,
Fe ennyna eu hysprydoedd hwy i gyd
Yn fflammau angherddol o dân;
Gwel'd Iesu er cymmaint eu bai,
Yn eu codi o bydew mor ddu,
Ni's gall eu calonnau hwy lai
Na seinio'r Jerusalem fry.

## HYMN 70. M. H. D. 8 8.

### LUTHER'S.

*Anthem y gwaredigion.*

PECHADUR, fy Arglwydd a'i gwyr,
Pechadur a garwyd yn rhad,
Pechadur a gliriwyd yn llwyr
Yn rhyfedd trwy rinwedd y gwaed;
Pechadur a orfu fyn'd trwy
Ryw stormydd o ddyfroedd a thân,
Pechadur na orphwys byth mwy,
Nes dringo i'r nefoedd yn lân.

'R anrhydedd, y gallu, a'r clod,
Y moliant, a'r parch yn gyttun,
O'r nefoedd i'r ddaear gaiff fod,
Yn gyfan i'm Harglwydd ei hun:
Hed son am dy haeddiant trwy 'r byd,
Yr adsain fo'n llanw pob lle,
Helaetha dy deyrnas o hyd,
Nes myned yn aeddfed i'r ne'.

Mi gara f' anwylyd o hyd,
Fy Mhrynwr, fy Mhriod, a'm Pen;
O'r diwedd fe sugnodd fy mryd,
O'r ddaear i'r nefoedd uwch ben:
Gwyn fyd a fae'n gorwedd yn awr,
Yn llonydd y'ngwaelod fy medd;
Mi godwn ar dorriad y wawr,
Yn ddisglaer i weled ei wedd.

Aed ein Haleluia sy'n lân,
Trwy'r awyr anfeidrol ei maint;
Cymmysged caniadau rhai gwan,
A thyrfa liosog o saint:
Mae yno adenydd fy Ior,
Yn taenu fel nefoedd ar led,
Dros hyfryd briodas-ferch yr Oen,
O f' enaid i fynu ehed.

HYMN 71. M. H. D. 8 8.

LIME HOUSE.

*Duw cariad yw.*

PWY feddwl, pwy 'madrodd, pwy ddawn,
Pwy dafod all osod i maes?
Mor felus, mor helaeth, mor llawn,
Mor gryfed ei gariad a'i ras!
Afonydd sy'n rhedeg yn gryf,
Na's dichon un pechod na bai,
Wrthsefyll yn erbyn eu llif,
A'u llanw ardderchog di-drai.

Fel fflammau angherddol o dân,
Yw cariad f' Anwylyd o hyd;
Fe losgodd bob rhwystrau o'i flaen,
Fe yfodd o'r afon i gyd!
Fe 'mafiodd mewn dyn ar y llawr,
Fe 'i dygodd â'r Duwdod yn un!
Y pellder oedd rhyngddynt oedd fawr,
Fe 'i llanwedd â'i haeddiant ei hun.

Fe gododd i fynu ei law,
Ymladdodd, ennillodd y dydd!

Ei holl waredigion a ddaw,
  A'i gaethion a roddir yn rhydd!
Fe 'nillodd fath goncwest trwy waed,
  Mae ganddo lywodraeth mor fawr!
Hyd eithaf trigfannau ei Dad,
  Mae'n cyrhaedd o'r nefoedd i'r llawr.

## HYMN 72. M. N. 9 8.

### ELIOT.

*Mawl Sion am fuddugoliaeth Calfaria.*

O AGOR fy llygaid i weled
  Dirgelwch dy arfaeth a'th air,
Mae'n well i mi gyfraith dy enau
  Na miloedd o arian ac aur:
Y ddaear â'n dân a'i thrysorau,
  Ond geiriau fy Nuw fydd yr un;
Y bywyd trag'wyddol yw 'nabod
  Fy Mhrynwr yn Dduw ac yn ddyn.

Rhyfeddod a bery 'n ddiddarfod,
  Yw 'r ffordd a gymmerodd efe
I gadw pechadur colledig,
  Trwy farw ei hun yn ei le!
Fe safodd fy mrenin ei hunan,
  Gorchfygodd awdurdod y ddraig;
Ein Samson galluog ni ydyw,
  O caned preswylwyr y graig.

Daeth blwyddyn y caethion i ganu,
  Doed meibion y gaethglud ynghyd,
Ni seiniwn trwy'r nefoedd a'r ddaear
  Ogoniant i Brynwr y byd:

Mae Brenhin y nef yn y fyddin,
  Gwae satan a'i filwyr yn awr,
Trugaredd a hedd sy 'n teyrnasu,
  Gogoniant trwy 'r nefoedd a'r llawr.

Y llew o lwyth Juda, gorchfygodd,
  Pa elyn all sefyll o'i flaen ?
Mae Sion yn teithio tu ag adre'
  Mewn cerbyd dychrynllyd o dân :
Bydd miloedd o saint ac angelion
  Yn dorf ogoneddus ynghyd,
Yn canu rhyw anthem drag'wyddol
  O ogoniant i Brynwr y byd.

### HYMN 73. M. H. 8 8.

### EATON.

*Rhagoroldeb cariad Crist.*

NEWYDDION braf a ddaeth i'n bro,
Hwy haeddent gael eu dwyn ar go'
Mae 'r Iesu wedi cario 'r dydd,
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd.

Mae Iesu Grist o'n hochr ni,
Fe gollodd ef ei waed yn lli ;
Trwy rinwedd hwn fe'n dwg yn iach,
I'r ochr draw 'mhen gronyn bach.

Fy Iesu garai bellach mwy
Ddioddefodd drosof farwol glwy' ;
Fy Mhriod hynod yw o hyd,
A'm cyfaill goreu yn y byd.

Doed fel y dêl, mi a'i cara o hyd
Dan bob rhyw drallod yn y byd,
Yn angau du a'r farn a ddaw,
Mi a'i cara i drag'wyddoldeb draw.

Pan syrthio 'r ser fel ffigys îr,
Pan ferwo'r mor, pan losgo'r tir,
Pan droir yr haul a'r lloer yn ddu,
Pryd hyn mi gara Mhrynwr cu.

Tra caffwyf rodio 'r ddaear hon,
Rho'th hedd fel afon dan fy mron;
Ac yn y diwedd moes dy law,
I'm dwyn i mewn i'r nefoedd draw.

## HYMN 74. M. H. 8 8.

### GREEN'S.

*Hiraeth am burdeb.*

YN ddistaw disgwyl f' enaid prudd,
O'r diwedd daw, nesau mae'r dydd,
Pan caf roi naid i'm nefol nyth,
Lle byddaf byw yn berffaith byth.

Pa bryd y gwelai 'r ddedwydd awr,
I'm beiau 'n llu gael myn'd i'r llawr?
Yn bur heb len, gael gwel'd fy Nghrist,
A myned trwy'm holl ofid trist.

O anwyl Iesu! brysia, bydd
Yn awr fel iwrch neu lwdn hydd;
O tyr'd ar frys, a chluda i lawr,
Fy holl elynion fach a mawr.

## HYMN 77. M. H. 8 8.

### SAVOY.

*Tlodi dyn, a golud gras.*

O Nertha'm henaid gwan ei ffydd,
Ro'i ofal arnat ti bob dydd;
Heb flino ynghylch amseroedd draw
Y rhai o bossibl byth ni ddaw.

Pan oedd euogrwydd heb ddim hedd
Y'mron a'm gwasgu 'n îs na'r bedd,
A'm holl bechodau 'n codi 'n llu,
Datguddiodd Duw ei Fab i mi.

Cymmer fi, Iesu, fel yr wyf,
Cuddia fi yn dy farwol glwyf;
Gan's dyna graig y gwnaf fy nyth,
'Does neb yn ofni yno byth.

Dyma gyfarfod hyfryd iawn,
Myfi yn llwm a'r Iesu'n llawn;
Myfi yn dlawd heb feddu dim
Ac yntau 'n rhoddi pob peth im'.

Gâd i mi drenlio nyddiau i gyd
I edrych ar dy wyneb-pryd,
Difyru f'oes o awr i awr,
I garu fy Eiriolwr mawr.

## HYMN 78. M. H. 8 8.

### DERBY.

*Y mae gorphwysfa etto yn ol i bobl Dduw*

RHEDWN ar frys mawr ydyw'r fraint,
Y nef yw diwedd gyrfa'r saint;
Er maint yw'r llid par'tow'd ein lle,
Ym mynwes Nâf o fewn y ne'.

Mi âf y'mlaen er pelled yw
I'r wlad 'rwy' am fyn'd iddi fyw;
O'r diwedd tiria'm henaid gwan,
O ddyfnder moroedd mawr i'r lann.

Draw mae'm Iesu mawr a'm Duw,
A brodyr fyrddiwn i mi'n byw;
Mae yno rai 'n clodfori o hyd,
Fu 'n teithio gyda mi 'n y byd.

Cyn byddo hir ni ddown ynghyd,
O eitha pedwar cwrr y byd,
O'r gogledd, dê, a'r dwyrain bell
I gael mwynhau cymdeithas well.

Câf yno weled oll ynghyd,
Y saint o bedwar cwrr y byd;
Câf orphen ar fy llafur waith
A chanu i drag'wyddoldeb maith.

Ni wêl 'tifeddion nefol hedd
Ddim llid na digter yn ei wedd,
Esgynant oll yn lluoedd llon
I wledda 'n siriol ger ei fron.

HYMN 79. M. H. 8 8.

BAMTON.

*Iachawdwr-llawn, yn wyneb pob angen.*

PECHADUR wyf, da gwyr fy Nuw,
Llawn o archollion o bob rhyw,
Yn byw mewn eisiau o waed y groes,
Bob mynud awr o'r dydd a'r nos.

Fe gaiff dy enw anwyl glod
Pan ddarffo i'r nef a'r ddaear fod,
Am achub un mor wael ei lun,
Na all'sai ei achub ond dy hun.

'Rwi'n dewis Iesu a'i farwol giwy'
Yn frawd a phriod i mi mwy;
Ef yn arweinydd, ef yn ben,
I'm dwyn o'r byd i'r nefoedd wen.

Ei gaamol bellach wnaf o hyd
Er maint o boenau sy'n y byd;
Dechreuais gân a bery'n hwy
Nag y ceir diwedd arni mwy.

### HYMN 80. M. H., 8 8.

EATON, DUKE STREET.

*Mawl am deyrnas rhad ras.*

BENDIGAID fyth fo enw Duw
'Rhwn wnaeth fy enaid marw'n fyw
Ac a'm cyfododd fel o'r bedd,
I gael mwynhau ei ras a'i hedd.

Edrychodd Duw o'r nef yn rhad
Ar un yn gorwedd yn ei waed,
A d'wedodd yn dy waed bydd byw;
Rho'f iddo glod, fy nyled yw.

Rhyfeddu 'r wyf i'r coelbren dd'od,
A'r nefoedd wen i'm rhan erioed,
Rhoi 'r cyfan oll yn rhad i mi,
O'r ddaear hon i'r nefoedd fry.

O groeso hyfryd nefol rodd,
'Does bellach arall wrth fy modd:
Cael huno yn ei gariad drud
Sydd fil o weithiau'n well na'r byd.

## HYMN 81. M. H. 8 8.

### BAMTON,

*Hyder y Cristion ar allu Duw.*

Y GRAS, yr hedd, a'r purdeb oll,
Roed im' yn Eden aeth ar goll;
Ni welai 'n berffaith tra f'wyf byw
Fy hèn 'madawiad gynt â Duw.

Rhyfeddu 'r wyf, rhyfeddaf byth
Na buaswn mewn uffernol nyth,
Rhyfeddaf fwy os f'enaid ddaw
Trwy 'r anial drwg i'r nefoedd draw.

Cryf yw dy fraich, mawr yw dy rym,
Nid oes a saif yn ei herbyn ddim;
Gair o dy enau di dy hun,
Gwymp fy ngelynion bob rhyw un.

O Arglwydd gad i'm dy fwynhau,
Ac onidê 'rwi'n llwfrhau;
P'le cair yn un lle dan y ne',
Un math o gysur yn dy le.

Fel disgwyl y gwyliedydd prudd,
O awr i awr am olau'r dydd;
Ac felly finnau o bryd i bryd,
Sy'n disgwyl am dy wyneb-pryd.

## HYMN 82. M. H. 8 8.

### BROMLEY.

*Y cwmmwl tystion.*

PWY ydyw hon sy'n llesg a gwan,
O'r anial fyd yn d'od i'r lann?
Gan faint ei bai blinedig yw,
Yn pwyso ar ei 'nwylyd gwiw.

Dyma y pererinion hŷ'
Achubwyd o ddyfnderoedd du;
Dan Sinai fe'u cynnaliwyd hwy,
Pa elyn a'u gorchfyga mwy.

Er cael eu herlid yma o hyd,
A'u llwyr ddirmygu gan y byd;
Mae'u henw da eu parch a'u bri,
Y'nghadw yn y nefoedd fry.

Y'mhen rhyw oesoedd rif y gwlith,
Ni flina'r saint dy garu byth;
A blas o'r newydd iddynt hwy,
Fydd canu am dy farwol glwy'.

Dyma hwy 'r gadwedig hil,
A gadwyd ar y llwybr cul;
Blaen-ffrwyth y dyrfa ddaw trwy ras,
O'r cystudd mawr a'r anial cas,

## HYMN 83. M. H. 8 8.

IPSWICH.

*Erfyniad am arweiniad y Bugail da.*

DYSG fi 'mhob man, dysg fi pa fodd,
I ddweud a gwneuthur wrth dy fodd;
Dysg fi ryfela â'r ddraig heb goll,
A dysg fi gonc'ro mhechod oll.

Y gwannaf wyf a'r rheitia ei ddwyn
O'r defaid gwirion ac o'r ŵyn;
A diau yw y byddai 'n ol
Oni chwyd y Bugail fi 'n ei gôl.

O gwna fi 'n golofn gadarn gre',
Yn dy deml lân dod i mi le;
I lynu wrthyt ti yn lân,
Y'mhob rhyw drallod fawr a mân.

Câf lechu 'n dawel yno o hyd,
Anghofio 'r boen sydd yn y byd:
Mae twrf a rhwysg y ddinas fawr
Yn curo f' enaid gwan i lawr.

Cael teimlo ei hedd a'i fywiol ras,
Yw 'r nefoedd sy ar y ddaear las;
A'm nefoedd byth yn nef y nef
Fydd edrych ar ei wyneb ef.

Rho win ac olew yn fy mriw,
A gwisg fi 'n deg â delw Duw;
A thynn fi 'n llon i blith y llu,
Sy'n ddisglaer yn y nefoedd fry.

## HYMN 84. M. H. 8 8.

### PORTUGAL.

*Y mae efe yn rhagori ar ddeng mil.*

WRTH droi fy ngolwg yma 'n awr,
I gyrrau 'r greadigaeth fawr,
Gwrthddrych ni wêl fy enaid gwan
Ond Iesu i bwyso arno 'n rhan.

Pwy wrendy riddfan f'enaid gwan,
Pwy 'm dwg o'm holl ofidiau i'r lan?
Pwy ddwg fy maich fel Brenhin nef,
Pwy gydymdeimla fel efe?

Ffordd newydd wnaed gan Iesu Grist
Rhag syrthio draw i uffern drist;
Wedi ei phalmantu ganddo ef
O ganol byd i ganol nef.

Wel, dyma un, O d'wedwch p'le
Y gwelir arall fel efe;
A bery 'n ffyddlon im' o hyd
Y'mhob rhyw drallod yn y byd.

Rho gymhorth etto i'm henaid gwan,
Nes d'od o'r moroedd oll i'r lan:
A chael fy nhraed ar sanctaidd dir
O fewn i gaerau 'r ddinas glir.

Yn fynych fynych Iesu cu,
Datguddia 'th fod yn eiddo i mi:
Mewn stormydd mawr yn wastad gâd,
I'm ddysgu llefain Abba Dad.

## HYMN 85. M. H. 8 8.

### POOL-STREET.

*Taer ddymuniad am gymdeithas â Duw.*

O IESU mawr y meddyg gwell,
Gobaith yr holl ardaloedd pell,
Dysg fi i seinio maes dy glod,
Mae digyfnewid wyt erioed.

Rho i mi wel'd mai ti yw 'm hedd,
A llwyr ddifyru ar dy wedd:
A chym'ryd gair dy enau i gyd,
Yn unig bleser yn y byd.

Par fod dy ogoniant pur dilyth,
Yn nôd a dibea i mi byth:
Dy fywyd hardd a'th eiriau gwir,
Yn wastad i mi 'n rheol bur.

Rho i mi lechu yn dawel glyd,
Tu hwnt i sŵn fy meiau i gyd;
Uwch twrf a themtasiynau 'r llawr,
Tan gysgod dy gyfiawnder mawr.

## HYMN 86. M. H. 8 8.

### POOL-STREET.

*Dymuniad am gymdeithas â Duw.*

O Hoelia 'meddwl ddydd a nos,
Crwydredig wrth dy nefol groes:
A phlanna 'm hyspryd yn y tir,
Sy 'n llifo o lawenydd clir.

Nid yw pleserau penna 'r byd,
Yn deilwng o fy serch a 'mryd :
Un wên o eiddo Mhrynwr cu
Sydd gan mil gwell na 'r rhai'n yn llu.

Disgwyliaf nes del seren wawr,
Sy'n arwain hyfryd olau mawr :
Fe gwyd y wawr, mae addewid wir,
Câf wel'd fy nghartre' cyn bo hir.

O tyred awr, o tyred ddydd,
I'm henaid i gael myn'd yn rhydd ;
Carcharor wyf mewn anial wlad,
Sy'n disgwyl beunydd am ryddhad.

HYMN 87. M. H. 8 8.

LUDLOW.

*Pwy sydd genyf yn y nefoedd ond tydi, &c.*

MAE f' enaid gwan yn awr am ddod
I'r man dymunais ganwaith fod ;
I gael mwynhau ei gariad ef,
Arfaethwyd cyn sylfaenu 'r nef.

'Ddaw angau byth i roi i mi glwy',
Nac ofni marw i mlino mwy ;
'Ddaw tristwch, pechod cas na phoen,
Byth i gwmpeini 'r addfwyn Oen.

Fy ffiol yma sydd yn llawn
O ddyfroedd Mara chwerwon iawn ;
Ond câf heb len ei weled ef,
Wyneb yn wyneb yn y nef.

Pan adnabyddwyf iaith y wlad,
A phur ganiadau tŷ fy Nhad,
Dechreuaf gân am farwol glwy'
Na chlywir diwedd arni mwy.

## HYMN 88. M. H. 8 8.

### Bamton.

*Gan edrych ar Iesu.*

Wrth edrych, Iesu, ar dy groes,
A meddwl dyfnder d'angau loes,
Pryd hyn 'r wyf yn dibrisio 'r byd
A'r holl ogoniant sy ynddo i gyd.

'Rwi'n mofyn yn dy deml lán
Am gael dy weled fel o'r blaen;
A bore wawr i d'wynnu 'n rhad
O bur gynteddau tŷ fy Nhad.

Ennyned tân o gariad cu
Mewn cydsain â'r angylaidd lu;
Na fyddo 'm swydd ond hyfryd sôn,
Am nefol rinwedd gwaed yr Oen.

## HYMN 89. M. H. 8 8.

### Redemption.

*Cwyno am ddatguddiad o Grist.*

Does arnaf eisiau yn y byd
Ond golwg ar dy haeddiant drud;
A chael rhyw brawf o'th nefol rin,
I 'mado 'n lân â mi fy hun.

Er bod dy haeddiant gwerthfawr drud
Yn fwy na'r nef, yn fwy na'r byd,
Yn rhyw anfeidrol berffaith iawn,
'Rwi 'n methu gorphwys arno 'n llawn.

O flaen y drugareddfa fawr,
Yn trengu o flaen dy draed i lawr,
Gwel y pechadur dua gaed,
Yn brefu am rinweddau 'th waed.

O feiau mawr, beth allsech fwy,
Na rhoddi i Frenhin nefoedd glwy';
Lladdasoch ef: fe drodd y rhôd,
Mae dydd eich dial chwithau 'n d'od.

## HYMN 90. M. H. 8 8.

### JOB.

*Dioddefaint Crist, &c.*

GWEL ar Galfaria, dyma 'r dyn,
A phwy oedd ef ond Duw ei hun:
Pechodau 'r holl grediniol fyd
A bwysodd ar ei 'sgwyddau ynghyd.

Na ad fi ymddiried tra b'wyf byw,
Ond yn dy angau di fy Nuw;
Dy boenau a dy farwol glwy'
Gaiff fod yn ymffrost i mi mwy.

Mae gras yn rhyw anfeidrol stôr,
A doniau ynot fel y mor;
O gâd i'r truenusa 'n awr
Drwy 'r rhai'n fy llonni ar y llawr.

## HYMN 91. M. H. 8 8.

### POOL-STREET.

*Grym duwioldeb.*

DAL fi fy Nuw, dal fi i'r lan,
'N enwedig dal fi pan bwi 'n wan;
Nes myn'd yn lân, dal fi â'th ras,
O'r byd sy'n llawn o bechod cas.

Gwna fi fel halen trwy dy ras,
Yn wyn, yn beraidd iawn ei flas,
Yn foddion yn dy law o hyd
I dynnu 'r adflas oddiar y byd.

Pan gaffwyf wel'd dy nefol wedd,
A phrofi blas dy ddwyfol hedd,
'Dwi'n gwel'd gogoniant mwya 'r byd
Ond peth annheilwng o fy mryd.

Mi âf y'mlaen er t'wylled yw,
I'r wlad 'rwyf am fyn'd iddi fyw;
Fe gwyd y wawr, mae 'ddewid nef
Y caf fyn'd adre atto ef.

Ond boed fy nghlustiau'n gwrando o hyd
Ddirgelion distaw nefol fyd:
A'm hunig bleser ddydd a nos
Yn nyfnion wirioneddau 'r groes.

Amen, amen, boed môr a thir
Mewn perffaith hedd, mewn cariad gwir
Heb ganddynt bleser o un rhyw
Ond caru Iesu mawr a'u Duw.

## HYMN 92. M. H. 8 8.

### Llangadog.

*Anfeidrol rinwedd gwaed y groes.*

Mae rhyw ddirgelwch llawer mwy,
Oes, Iesu, yn dy farwol glwy',
Nac y gall sant tra bo ynddo chwyth,
Na seraph pur ei ddeall byth;
Na seraph pur, na seraph pur,
Na seraph pur ei ddeall byth.

O holl weithredoedd nef yn un,
Y bennaf oll oedd prynu dyn;
Rhyfeddod mwyaf o bob oes
Gwel'd Iesu 'n gwaedu ar y groes; &c.

Dyfnderoedd annhraethadwy mwy,
Didrai, difesur sy'n ei glwy':
Ein hanwireddau darfu eu dwyn,
A ninnau'n rhyddion er ei fwyn. &c.

Chwychwi 'mhechodau o bob gradd,
Sy'n fwyaf cadarn am fy lladd,
Er maint eich grym, er maint eich clwy'
Mae angeu 'r Iesu'n llawer mwy: &c.

Os daw y gyfraith yn ei grym,
A gofyn am berffeithrwydd im'
'Does genny' ond dangos angeu loes,
A'r gwaed a lifodd ar y groes; &c.

Ni cheisia' un lloches ond dy glwy',
Tan donnau mawrion fwy na mwy;
Mae'th waed yn nyfnder culni a gwae,
Yn abl fy rhoi i lawenhau: &c.

## HYMN 93. M. H. 8 8.

### LLANGADOG.

*Ymddangosiad Crist, a rhinwedd ei aberth.*

MAE Brenhin nef ar fyrr yn d'od,
Mewn rhwysg na welodd neb erio'd;
Mae angeu, uffern fawr a'r bedd,
Yn ofni edrych ar ei wedd; &c.

Fe lysg y byd yn ulw mân;
Fe dry'r greadigaeth fel o'r blaen;
Cwymp y planedau er eu maint,
Bydd Iesu'n frenhin ar ei saint; &c.

Mi wela'n codi 'r seren ddydd,
Mi glywa 'r cann yno fydd;
Angelion gyd â'r saint yn un,
Yn cadw cwmni Mab y dyn; &c.

Ar Galfari y talodd ef,
Ofynion mwya', trymma'r nef;
Yn awr mae'r carcharorion prudd,
Yn llawen hyfryd ddo'd yn rhydd: &c.

Mae haeddiant fy Iachawdwr mawr]
Yn dioddef poen rhwng nef a llawr,
Yn fwy ei rin filiynau mawr
Na haeddiant seintiau'r nef a'r llawr, &c.

O tyr'd i ben ddedwyddaf ddydd,
Darfydded sôn am bethau sydd;
Na'r byd, na'i rwysg, na'i wae, na'i boen
Ond canu byth am waed yr Oen, &c.

HYMN 94. M H. 8 8.

GIBRALTER,

*Crist yn sylwedd yr holl gysgodau.*

Y Moroedd mawr a'r ddaear faith,
A llu'r ffurfafen yw ei waith;
Er hynny rhodd ei fywyd cu,
I angau chwerw drosof fi, &c.

Y manna pur a'r golofn dân
Yr arch a'r drugareddfa lân;
Y dwfr o'r graig i'w gael bob pryd,
Fy Iesu ydyw y rhai'n i gyd, &c.

Tystiodd fy Nuw o ganol nef,
Ce's lawn foddlonrwydd ynddo ef:
A bod ei saint o fawr i fân
Yn haeddiant Iesu oll yn lân, &c.

Dyma 'r man mae 'm sylfaen gref,
Cyfiawnder bythol Brenhin nef;
'Does achos braw na dychryn im'
Can's Iesu cadarn yw fy ngrym, &c.

## HYMN 95. M. S. 8 7.

### AINGTON.

*Diwedd galar, dechreu gwynfyd.*

B'LE trof fy wyneb, Arglwydd cu,
Ond attat ti dy hunan;
Pob peth gweledig 'thal ef ddim,
Ond gwneuthur i mi riddfan.

Os yw 'ngofidiau yn y byd
I bara hyd y diwedd,
O fewn y nef fe dderfydd hyn,
Troir tristwch yn orfoledd.

Pryd hyn pereiddia Duw ar g'oedd
Holl chwerwon ddyfroedd Mara;
Pryd hyn y try pob chwerw nant
Yn win i blant JEHOFA.

Po mwya fo 'u cyfyngder hwy,
Bydd mwy fwy eu cysuron;
Eu hedd, melysach na'r dil mel,
A lifa fel yr afon.

## HYMN 96. M. S. 8 7.

### WILTSHIRE.

*Ymdrech á gelynion, a diwedd y rhyfel.*

DUW cadw f' enaid bach o hyd
Uwchlaw y byd a'i ddrygau;
Gan lwyr ddibrisio ei boen a'i wae,
E' drallod a'i gystuddiau.

Fel na bwi'n gwrando ar ei dwrf,
  Ei gynhwrf a'i ruadau;
Ond teithio 'r llwybr cul bob cam,
  A meddwl am fy nghartre.

Heb gyfeiliorni ar un llaw,
  Nes myn'd tu draw 'r Iorddonen,
At seintiau ffloedd ar y byd,
  Sy'n awr i gyd yn llawen.

Ni ddaw i ran y cyfryw rai
  Nac och, na gwae, nac angeu;
'Traid yfed dyfroedd Mara mwy,
  'Nol myned trwy 'r Iorddonen.

Fe dderfydd byth eu poen a'u gwae,
  Eu trallod a'u cystuddiau,
Caent ganu yn y nef mewn hedd,
  Uwch cyrhaedd eu gofidiau.

## HYMN 97. M. S. 8 7.

### CONDESCENSION.

*Cariad Crist yn ddigon yma ac yn angeu.*

CLODFORWCH bawb ein Harglwydd
  Dduw,
  Doed dynolryw i'w ganmol;
Ei hedd fel afon fawr ddi-drai,
  Gaiff ddyfrhau ei bobl.

Ni feddai ffrind, na mam na thad,
  A'r cyfryw gariad i mi;
Mewn culni, gofid, poen, a gwae,
  Yn wastad mae 'n fy llonni.

O blaid fy enaid gwan fe fydd,
Ar chwerw ddydd marwolaeth
Yn angeu dan ei gysgod e'
Câf weiddi iechydwriaeth.

Pan ballo ffafr pawb a'u hedd
Duw o'i drugaredd odiaeth,
Yn Dad, yn Frawd, yn Ffrind a fydd
Ar gyfyng ddydd marwolaeth.

Caf fwyta ffrwythau prennau plan
Ar hyd glann afon bywyd;
Trag'wyddol sabbath gydâ 'r Oen,
Heb friw, na phoen, na gofid.

## HYMN 98. M. S. 8 7.

### HEPHIZBA.

*Golwg gorfoleddus ar ben y daith.*

GWYNFYD y rhai dileäist eu bai,
En pechod a'u hanwiredd;
Gan ro'i iddynt nerth er cnawd a byd
I bara hyd y diwedd.

Disgwyl yr wyf a hyn bob cam
Fel gwiliwr am y bore;
Gael profi grym dy nefol ras,
I'm tynnu o'm hatgas feiau.

Er bod yn hir mewn anial fan
Yn 'mofyn am orphwysfa,
O'r diwedd daethum (rhyfedd fraint),
I'r fan mae 'r saint yn gwledda,

Y wisg a'r goron gaf i'm rhan,
Sy 'nghadw gan yr Iesu,
A'r hyfryd balmwydd yn fy llaw,
Heb boen na braw i'm drygu.

O Fugail Israel dwg fi 'mlaen
I'r dawel lân orphwysfa,
I th nefol lys, o'm poen a'm pla,
I ganu Haleluia.

HYMN 99. M. S. 8 7.

OXFORD.

*Cyfiawnhad, a gorfoledd yr iechydwriaeth.*

RHAID i mi gael pob gras pob dawn,
O'th drysor llawn yn gyfan,
Ac oni chaf, fy enaid prudd
A gyll y dydd yn fuan.

Dy wisg dy hun, cyfiawnder hael,
Rhaid i mi gael y'mlaenaf;
Nid oes ond ofni dan fy mron,
Nes caffwy' hon am danaf.

Dy gnawd yw'r bara hyfryd fwyd
Yn unig gwyd ein henaid;
Pan gwelom ynddo 'r wayw-ffon,
Fe 'n dad-ddrys o'n caethiwed.

Cael gwledda ar dy hedd o hyd,
Anghofio 'r byd yn gyfan;
A'th deml lân fo 'n trigfa ni,
I'th weled di dy hunan.

A chlod ar glod ei ras tra mawr
  Ledaena yn awr mor helaeth,
Nes seinio trwy holl entrych ne'
  Am ddyfais iechydwriaeth.

O cadw fi yn dy fynwes bur
  Nes d'od i'r eglur fywyd,
At fy nghyfeillion sydd mewn hedd
  Yn gweled gwedd f' anwylyd.

## HYMN 100. M. C. 8 6.

### Messia.

*Ymdrech y Cristion, a'i fuddugoliaeth.*

Rwy'n morio tu a chartre'm Nêr,
  Rhwng tonnau maith yn byw;
Yn ddyn heb neges dan y sêr
  Ond 'mofyn am ei Dduw.

Mae 'r gwyntodd yn fy nghuro 'n ol,
  A minnau 'd wyf ond gwan;
O cymmer, Iesu fi 'n dy gôl,
  Yn fuan dwg fi 'r lann.

A phan fo 'n curo f' enaid gwan,
  Elynion rif y sêr,
Dyrchafa 'm hyspryd llesg i'r lann,
  I fynwes pur fy Nêr.

O gwna fy nghalon redeg trwy,
  Oll attat ti dy hun:
Na bo difyrrwch gennyf mwy
  Mewn daear, da, na dyn.

Na âd fi ar aswy nac ar dde'
I redeg o dy flaen,
Ond dilyn llwybrau Brenhin ne'
Trwy ddyfnder dwfr a thân.

Yn nyfnder profedigaeth ddu,
Dos dy hunan o fy mlaen;
Ond i mi gael bod gyda thi
Nid ofnaf ddwfr na thân.

Mi ro' f' ymddiried ynddo ef,
Mae 'n noddfa gref i'r gwan;
Ac er y curo sy arnai 'lawr,
Fe ddeil fy mhen i'r lan.

HYMN 101. M. C. 8 6.

EBENEZER, NEW.

*Awn yn hyderus at orseddfainge y gras.*

AGORWYD pyrth y nefoedd wiw
Mi welaf fôr o waed,
Y gallaf fi 'r ffieiddia 'n fyw
Yn hollol gael iachâd.

Mae 'r orsedd fawr yn awr yn rhydd,
Gwrandewir llais y gwan;
O cyfod bellach f' enaid prudd,
Anadla fu a'r lann.

Ac anfon eirchion aml ri'
I mewn i byrth y nef,
Gwrandawir pob amddifaid gri
Yn union ganddo ef.

'Rwy' fel y gwiliwr ar y mur,
Yn disgwyl gwel'd y wawr;
Dydd i gyhoeddi 'r Jubil' fwyn,
Fy ngwaredigaeth fawr.

Ni fethodd gweddi daer erioed
A chyrhaedd hyd y nef,
Ac mewn cyfyngder f' enaid rhed
Yn union atto ef.

Mi 'nturiaf at orseddfa gras
Dan eithaf tywyll nos,
Ac mi orphwysaf, doed a ddel,
Ar haeddiant gwaed y groes.

HYMN 102. M. C. 8 6.

EBENEZER, NEW.

*Y mae efe yn rhagori ar ddeng mil.*

AT wedd dy wyneb nid yw ddim,
Drysorau maith y llawr:
Mae gair o'th enau 'n llawer mwy
Ei rym nag uffern fawr.

Os edrych wnaf i'r dwyrain draw,
Os edrych wnaf i'r de',
Y'mhlith a fu neu ynte' ddaw
'Does debyg iddo 'fe.

Ni feddai ar y ddaear lawr,
Ni feddai yn y ne',
Neb ag a bery 'n anwyl im'
Yn unig ond efe.

Mae ynddo 'i hunan drysor mwy
Nag fedd yr India lawn,
Fe brynodd i mi fwy na'r byd,
Ar groesbren un prydnawn.

'Does gennyf mwy ond Duw yn dad,
Yn erbyn pob rhyw wae;
Na dim ond grym ei gariad rhad
Yn sylfaen i barhau.

O na allwn rodio er ei glod
Ac iddo bellach fyw;
A threulio mywyd gyda blas
I ganmol gras fy Nuw.

HYMN 103. M. C. 8 6.

BENNET'S.

*Pwy a'n gwared oddiwrth gorph y farwolaeth hon?*

O Edrych arnaf, Arglwydd mawr,
Mae bellach yn brydnawn:
O llanw 'r euog sy heb ddim
A'th nefol ddwyfol ddawn.

Dyma bechadur truan gwan,
Yn griddfan dan ei wae;
Can's grym fy mhla sydd wedi 'm rhoi,
I hollol lwfrhau.

Duw tyr'd yn glau, mae 'n gyflawn bryd
'Rwy 'n griddfan dan fy mhoen;
Yn methu d'od i'r ffynnon rad
Sancteiddiaf waed yr Oen.

O maddeu mai, a chliria 'n llwyr
F' euogrwydd oll i gyd,
Ac na'd fi flino d' Yspryd mwy
Tra byddwyf yn y byd.

Mae temtasiynau 'r ddraig yn gryf
A minnau 'd wyf ond gwan:
Nid oes ond dwyfol nerth dilyth
A'm deil i byth i'r lann.

Mae llid o'r dwyrain ac o'r de',
Am gael fy mhen i lawr;
Trag'wyddol allu Brenhin ne',
A'm dwg i'r lann ryw awr.

## HYMN 104. M. C. 8 6.

### BATH CHAPEL.

*Anghofio y pethau tu cefn, &c.*

FE'm siomwyd gan bleserau'r llawr,
Fe 'm twyllwyd gan bob un;
Ffowch bob eilunod, rhois ffarwel
I ddaear ac i ddyn.

Ni thro'f fy wyneb byth yn ol,
I 'mofyn pleser gau;
Ond mi a gerddaf tu a'r wlad,
Sy a'i phleser i barhau.

Ond myn'd tan ganu tu a'r wlad,
Bwrcaswyd i mi fyw;
A gadael byth y'mhell o'm hol,
Gystuddiai o bob rhyw.

Mae seintiau 'n diangc at eu Duw,
  Yn filoedd o fy mlaen;
A mi'n amddifad yma'n byw,
  Ynghanol dw'r a thân.

Ac mi debyga' clywai sŵn,
  Nefolaidd rai o'm blaen;
Wedi concwerio a myned trwy
  Dymhestloedd dw'r a thân.

O tyred Yspryd sanctaidd pur,
  Nertha 'mlinedig draed;
A rho i mi olwg oleu clir,
  Ar hyfryd dir fy ngwlad.

HYMN 105. M. C. 8 6.

SUFFOLK.

*Digonolrwydd haeddiant Crist.*

NI'S gall angylion pur eu dawn,
  A'u haml ddoniau hwy;
Fyth osod allan haeddiant llawn,
  Anfeidrol ddwyfol glwy'.

Ni welai wrthddrych mewn un man,
  O'r ddaear faith i'r ne',
A dâl ei garu tra f'wyf byw,
  Yn unig ond efe.

Eisteddais dan ei gysgod ef,
  A'i ffrwyth oedd felus iawn;
Ac yma treuliaf ddyddiau f' oes,
  Byth, byth yn ddedwydd iawn.

Mae ei ffyddlondeb fel y môr,
Heb fesur ac heb drai,
A'i drugareddau hyfryd sy
'N drag'wyddol yn parhau.

Cyflawnder nerth, cyflawnder gras,
Cyflawnder nef y nef;
Uwch deall seraphim a saint,
Sy'n trigo ynddo ef.

Mae yn ei haeddiant bethau mwy
Nag fedd y byd yn un;
A phrawf o'i gariad ydyw'r fraint
Oruchaf gafodd dyn.

HYMN 406. M C. 8 6.

CAMBRIDGE, NEW.

*Gwagedd eilunod a thegwch Crist.*

IESU, difyrwch f' enaid drud,
Yw edrych ar dy wedd;
Ac mae llyth'renau dy enw pur,
Yn fywyd ac yn hedd.

A than dy aden dawel bur,
'Rwyf yn dymuno byw;
Heb ymbleseru byth mewn dim,
Ond cariad at fy Nuw.

Cau fy llygaid rhag im' wel'd
Pleserau gwag y byd;
Ac i mi wyro byth oddiar
Dy lwybrau gwerthfawr drud.

Darfydded sôn am bleser mwy,
  Yn agos ac y'mhell;
Fel y gallwyf yfed dyfroedd pur,
  O ffynnon lawer gwell.

'Does genyf ond dy allu mawr,
  I'm nerthu fyn'd y'mlaen;
Dy iachawdwriaeth yw fy ngrym,
  Fy nghoncwest a fy nghân.

Byth gorfoledda f' enaid mwy,
  Dy briod yw dy Dduw,
Mwy ydyw rhinwedd marwol glwy',
  Na phechod o un rhyw.

### HYMN 107. M.C. 8 6.

BANGOR.

*Hiraeth am ryddhad.*

'RWY'n edrych dros y bryniau pell,
  Am danat Iesu mawr;
O tyr'd f' anwylyd, mae'n hwyrhau,
  A'm haul bron myn'd i lawr.

Tebygwn pe bai nhraed yn rhydd,
  O'r blin gaethiwed hyn;
Na wnawn ond canu tra fawn byw,
  Am ras Calfaria fryn.

Tyr'd Arglwydd, a'th addewid rad,
  Pur eiriau'r nef i ben;
Dyddiau fy rhyddid roed dan sêl,
  Yn nirgel lyfr y nen.

Mae dyddiau griddfan i mi'n hir,
  Caethiwed Babel fawr;
O na chawn deimlo'r Jubil fwyn,
  Yn agor dorau'r wawr.

Pererin wyf mewn anial dir
  Yn crwydro yma a thraw;
A disgwyl 'r wyf o awr i awr,
  Fod tŷ fy Nhad gerllaw.

Mae arnaf hiraeth am y wlad,
  Lle mae torfëydd di ri';
Yn canu 'r anthem i barhau,
  Am angau Calfari.

HYMN 108. M. C. 8 6.

MILBOURN PORT.

*A'th gynghor y'm harweini, &c.*

TYR'D Ysbryd sanctaidd, arwain 'r ffordd
  Bydd i mi niwl a thân;
Ni cherddai'n gywir hanner cam,
  Oni byddi o fy mlaen.

Mi wyra weithiau ar y dde',
  Ac ar yr aswy law;
Am hynny arwain gam a cham,
  Fi i'r baradwys draw.

'Ddiffygiai ddim er c'yd fy nhaith,
  Tra paro gras y ne';
Ac er lleied yw fy ngrym
  Mae digon ynddo fe.

Mae 'r iachawdwriaeth fel y môr,
Yn chwyddo byth i'r lann:
Mae yma ddigon, digon byth,
I'r truan ac i'r gwan.

'Does yma eisiau byth yn bod,
Trysorau gras yn llawn;
Er maint yw'r yfed a'r glanhau,
O fore hyd brydnawn.

'Dai 'mofyn haeddiant byth, na nerth,
Na ffafr neb na'i hedd,
Ond hwnnw 'n unig gwyd fy llwch,
Yn fyw i'r lann o'r bedd.

HYMN 109. M. C. 8 6.

SUFFOLK.

*Daeth amser i'r adar ganu.*

MAE durtur yr efengyl fwyn,
Yn galw bro a bryn;
Doed torf aneirif tu a'r wlad,
Gyd â'r awelon hyn.

Fe ddaeth y Jubil werthfawr lawn,
Ar ol och'neidio 'n hir;
Ac mi ge's weled hyfryd ran
O'r baradwysaidd dir.

Fe wnaeth ei babell yn ein plith,
A'i bresennoldeb sy
Yn troi pob cystudd chwerw loes,
Yn hyfryd hedd i ni,

Darfydded dydd, darfydded nos
Fel mynud bach o'r awr,
Tra b'wyf yn caru a rhoi mhwys
Ar fynwes f' Arglwydd mawr.

Dymunawn yma dreulio 'm hoes
O fore hyd brydnawn,
Lle cawn ni wylo cariad pur
Yn ddagrau melus iawn.

HYMN 110. M. C. 8 6.

CAMBRIDGE, NEW.

*Buddugoliaeth trwy ffydd.*

MI dafla maich i lawr yn llwyr
Trwy rinwedd dwyfol loes,
Euogrwydd fel mynyddau 'r byd
Dry 'n gann wrth dy groes.

Nid ofnai 'r byd, nid ofnai 'r bedd,
Ond profi 'th hedd a'th rym,
Fy ofnau 'n llwyr ond gwel'd dy wedd
A gwymp i lawr yn ddim.

O anghrediniaeth mawr ei rym,
Ti roddaist i mi glwy',
Ond yn dy wyneb credu wnaf
Fod doniau 'r nef yn fwy.

Fe 'm golchir gan fy nghystudd trwm,
Fe 'm purir yn y tân ;
Ac mi dd'of allan, pan ddel dydd,
Wedi fy nghannu 'n lân.

'Rwy'n ffrind i'r bedd, rwy'n ffrind i'r groes,
Cystuddiau ym mhob man ;
Er pan ddaeth Iesu a'i gariad rhad
I lanw 'm henaid gwan.

HYMN 111. M. C. 8 6.

SUFFOLK.

*Golwg ar ddyrchafiad Crist.*

MI ymddiriedaf yn ei air
Er cymmaint yw fy mai,
Fe benderfynwyd dydd ac awr
Im' gael fy llwyr ryddhau.

Esgyn a wnaeth i entrych ne'
I eiriol dros y gwan,
Fy enaid innau a dynn efe
I'w fynwes yn y man.

Mae 'n eistedd ar ddeheulaw 'r Tad,
Ar orsedd fawr y nef ;
Ac y mae 'r cyfan sydd mewn bod
Dan ei awdurdod ef.

Gadawodd y llieiniau 'n ol,
Yn arwydd llawn i ni,
Na raid wrth wisgoedd o un rhyw
Yn y baradwys fry.

Fe saif gyfammod sicr ef
Yn gadarn yn ei rym,
Pan f'o pob cyssur is y ne'
Wedi diflannu 'n ddim.

O gwna ni 'n ffyddlon yma o hyd,
A'n lefel at dy glod;
Ac na f'o pleser fyn'd â'n bryd,
A welwyd is y rhod.

Dod yn ein genau fawl ar g'oedd,
Ac yn ein hysbryd dân;
Ac yn mherygl̄on anial dir,
Erfyniau pur a chân.

## HYMN 112. M. C. 8 6.

### Duwioldeb.

*Undeb y gwaredigion.*

MAE brodyr i mi aeth y'mlaen
Yn holl-iach a chyttun;
Deng mil o filoedd yw eu dân,
Er hyn nid yw ond un.

Mae pawb o'r brodyr yno 'n un,
Heb neb yn tynnu 'n groes;
Yn moli 'r Duwdod yn y dyn,
A chofio angau loes.

Ni theimlir yno unrhyw boen,
Na chwyno gan un clwy',
Ond pawb mewn hwyl yn moli 'r Oen,
I drag'wyddoldeb mwy.

Daw'r holl dduwiolion yno ynghyd,
O'r gogledd, de, heb ri',
A'u holl gadwynau 'n chwilfriw mân,
A'u cân am Galfari.

Plant ydym etto dan ein hoed
Yn disgwyl am y stâd,
Mae 'r etifeddiaeth i ni 'n d'od,
Wrth destament ein Tad.

Na'd fi foddloni mewn rhyw rith
O grefydd heb ei grym,
Ond gwir adnabod Iesu Grist
Yn fywyd anwyl im'.

HYMN 113. M. N. 8 8 6 a 8.

GREEN'S.

*Golwg ffydd yn llonni'r pererinion.*

TYDI fy Nuw, tydi i gyd,
Yw'r cwbl feddai yn y byd;
Yr wyt ti 'n well, &c.
Na'r India bell a'i pherlau drud.

Ym mhell o swn daearol fyd,
Mae fy nhrysorau oll i gyd;
Y wlad lle mae, &c.
Rhyw fôr didrai o berffaith hedd.

O hyfryd fan! tra f'o ynof chwyth,
Sychedaf am fod ynddo byth;
Fe dry fy ngwae, &c.
Yn llawenhau yn nhŷ fy Nhad.

Mi gofiaf yno am y dydd,
'Rhoed fy nghadwynau oll yn rhydd;
Ac am y gair, &c.
·dwydd a bair ei gofio byth.

Mae trenlio mynnd uwch y llawr
I garu fy Iachawdwr mawr,
Yn well rhyw ddydd, &c.
Na'r cwbl sydd o dan yr haul.

Aed heibio 'm dyddiau bob yn un
Wrth garu 'm Crëwr mawr yn ddyn;
Fy enaid cân, &c.
I'th Brynwr glân, a dos i'r bedd.

HYMN 114. M. N. 8 8 4 a 8.

*Dedwyddwch y gwaredigion.*

FE syrth y sêr i lawr o r nen,
Fe d'w'lla'r bydoedd mawr uwch ben,
Fe sych y môr, &c.
Bydd f' Arglwydd Iôr yr un o hyd.

Bydd gwraig yr Oen y bore hwn
Yn canu 'n iach, heb boen na phwn;
Ar ddeheulaw, &c.
Ei phriod draw, heb farw byth.

Cair gwel'd y dyrfa ddisglaer fawr,
Rifedi gwlith y bore wawr,
Heb friw na phoen, &c.
Yn canu i'r Oen y newydd gân.

O gwyn eu byd y dyrfa fawr,
Yn iach a 'hedodd uwch y llawr;
Marwolaeth mwy, &c.
Ni chwrdd â hwy sydd fry mewn hedd.

Mae gwedd ei wyneb yn iachau
Y cleifion a'r dolurus rai;
Fy meddyg yw, &c.
Nis gallaf fyw byth heb fy Nêr.

O! golch fi yn y ffynnon fawr
A redodd dan dy fron i lawr,
O ddwfr a gwaed, &c.
Rhò i mi'n rhad fy llwyr lanhad.

## HYMN 115. M. N. 7 6.

### CLUMSTOCHR.

*[illegible] gyfiawn trwy waed y groes.*

ANGYLION doent yn gyson,
Rifedi gwlith y wawr,
Rhoent eu coronau euraidd
O flaen y faingc i lawr;
Dadseiniant â'u telynau
Ynghyd â'r saint yn un,
Fyth, fyth, ni chanant ddigon
Am Dduwdod yn y dyn.

Am angau 'r groes bydd canu
I dragwyddoldeb maith,
Ond im' gael teimlo ei rinwedd
'Rwy bron ar ben fy nhaith;
Fy nefoedd yw ei deimlo,
A'i deimlo 'n union sydd
Yn troi pob rhyw dywyllwch
O'm blaen yn olau ddydd.

Yn angau 'r groes yn unig
  Mae 'm iachawdwriaeth lawn,
Ac am y groes mi ganaf
  O fore hyd brydnawn:
'Does ond yr aberth hwnnw
  Wnaed ar Galfaria fryn,
A'm crëai oll o newydd,
  A'm cannai oll yn wyn.

RHAN II. M. B.

NI fuasai gennyf obaith
  Am ddim ond fflammau syth,
Y pryf nad yw yn marw,
  A'r t'wyllwch dudew byth:
Oni buasai 'r hwn a hoeliwyd
  Ar fynydd Calfari,
O ryw anfeidrol gariad
  I gofio am danaf fi.

Mi gana' tra b'o anadl,
  O fewn y ffroenau hyn,
Am gariad Iesu 'n diodde'
  Ar ben Calfaria fryn:
Am goron ddrain blethedig,
  A'r hoelion garwa eu rhyw,
I gannu 'm henaid euog
  Fel eira gwynna ei liw.

Mi welaf yn ei fywyd,
  Y ffordd i'r nefoedd fry,
Ac yn ei angau 'r taliad
  A roddwyd drosof fi.

Yn ei esgyniad gwelaf
  Drigfanau pur y nef.
A'r wledd drag'wyddol berffaith,
  Gaf yno gyd âg ef.

## HYMN 116. M. N. 7 6.

### Aberystwyth.

*Haeddiant Crist yn ddigonol yma, ac yn y farn.*

O FLAEN y faingc rhaid sefyll,
  Iê, sefyll cyn b'o hir;
'Nid oes a'm nerthai yno
  Ond dy gyfiawnder pur;
Myfi anturia' heb ofni
  Trwy ddyfroedd a thrwy dân,
Heb oleu ac heb lewyrch
  Ond dy gyfiawnder glân.

Ti farnwr byw a meirw,
  Agorwr dorau 'r bedd,
Terfynau eitha 'r ddaear
  Sy'n disgwyl am dy hedd:
'Dyw gras i ti ond gronyn,
  Mae gras ar hyn o bryd,
Rhyw filoedd maith o weithiau
  I mi yn well na'r byd.

Pwy ddyry im' falm o Gilead,
  Maddeuant pur a hedd,
Nes gwneud i'm hyspryd edrych
  Heb ofni ar y bedd;

A diangc ar wasgfauón,
  Euogrwydd creulon crŷ?
'Does ond yr hwn a hoeliwyd
  Ar fynydd Calfari.

Mae yma fôr o gysur,
  Yn llifo i fy rhan;
Er bod holl rwydau Satan,
  Yn erbyn f' enaid gwan:
Bwriadwyd oll eu torri,
  A'r bwriad ddaw i ben,
Mor siwr a'r bwriad hwnnw,
  O farw ar y pren.

## HYMN 117. M. N. 7 6.

### Lambeth

*Mawr yw dirgelwch duwioldeb.*

O Foroedd o ddoethineb,
  Oedd yn y Duwdod mawr,
Pan y cyfranai ei gariad,
  I bryfaid gwael y llawr!
A gwneuthur i'w drugaredd,
  A'i dostur maith ynghyd,
I redeg megis afon
  Lifeiriol dros y byd.

'Nol edrych ar ol edrych,
  O gwmpas i mi mae
Rhyw fyrdd o ryfeddodau
  Newyddion yn parhau:

Pan bwy 'n rhyfeddu unpeth,
  Peth arall ddaw i'm bryd;
O iachawdwriaeth rasol
  Rhyfeddol wyt i gyd!

Ond y rhyfeddod fwya'
  I'r Tad ro'i ei Fab ei hun,
Mynwesol Fab ei gariad,
  I wisgo natur dyn:
Ond dyma ddarostyngiad,
  A dyma rodd mor fawr
Na welir ei chyffelyb
  O eitha'r nen i lawr.

O iachawdwriaeth gadarn!
  O iachawdwriaeth glir!
'Fu dyfais o'i chyffelyb
  Erioed ar fôr na thir;
Fe ro'dd ei fywyd drosom,
  Beth all ef ballu mwy?
Mae myrdd o drugareddau
  Difesur yn ei glwy.

O ras didranc diderfyn,
  Trag'wyddol ei barhad!
Y'nghlwyfau 'r Oen fu farw
  Yn unig mae iachâd;
Iachâd oddiwrth euogrwydd,
  Iachâd o ofnau 'r bedd,
A chariad wedi ei wreiddio
  Ar sail tragwyddol hedd.

Y clod, y nerth, yr enw,
'R anrhydedd, parch, a'r bri,
F'o i'r Drindod mawr yn Undod,
A'r Undod por yn Dri;
Ei glod ehedo allan
Ei glod anfeidrol ef,
Trwy ehangder annherfynol
Mesurau maith y nef.

## HYMN 118. M. N. 7 6.

### LOCK.

*Gogoneddus drefn yr Iachawdwriaeth.*

O F' enaid gwel fath noddfa,
Ddiysgog gadarn yw,
Y'mhob rhyw gyfyngderau,
Trag'wyddol ras fy Nuw;
Ac yma boed fy nhrigfa,
A'm hyfryd dawel nyth,
Yn nyfnder fy nghystuddiau,
Sef dan dy aden byth.

Cwymp f' enaid wrth ei orsedd,
A gorwedd wrth ei draed,
Rhyfedda 'r drefn anfeidrol
Arfaethwyd gan y Tad:
Lle gall'sai ngadael innau,
Fel yr angylion sy',
Yn berwi mewn cadwynau
Yn y dyfnderoedd du.

Tra fyddo 'r ne 'n rhyfeddu
  Dyfnderoedd mawr ei ddawn,
Anfeidrol faith rinweddau
  Yr iachawdwriaeth lawn,
Yn lân rhoent yr anrhydedd,
  Goruchel pur dilyth,
I'r hwn sydd ar yr orsedd,
  A'r Oen, heb flino byth.

Deffrowch fy holl serchiadau,
  A sefwch yn eich lle,
I garu a rhyfeddu
  Tywysog mawr y ne';
Awdwr ein hiachawdwriaeth,
  Pwrcasodd nefol hedd,
Ac er fy mwyn bu 'n gorwedd
  Yn dawel yn y bedd.

## HYMN 119. M. N. 76.

### NEW JERUSALEM.

*Craig yr oesoedd yn noddfa yn y dymhestl.*

O F' enaid moria bellach,
  Y'mlaen tua 'r hyfryd wlad,
Fe rwygodd Iesu 'r stormydd,
  Oddi yma i dŷ fy Nhad:
Ac fel bwy 'mlaen yn morio,
  Gàd i mi gael o hyd,
Arogli o'i rhinweddau,
  A gwel'd ei thrysor drud.

Pa ham na thrown fy ngolwg,
Fyth tua 'r nefoedd wen,
Y'nghanol pob terfysgoedd,
Wy 'n weled is y nen;
Fy Iesu sy 'n rheoli,
Yr afreolus lu,
O ddyfnder uffern isod,
I bellder nefoedd fry.

Duw rho imi ffydd i edrych,
Y'mhob caethiwed du,
A phechod arnai'n gwasgu,
I fynydd Calfari;
Gwna i fy nghalon brofi,
Fod dy anfeidrol loes,
Yn lloches gynhes dawel,
Yn wastad tan y groes.

RHAN. II.

Ni edrychaf ar ddim arall,
Yn unig ond tydi,
Yn griddfan dan yr hoelion,
Ar fynydd Calfari;
Fy lloches rhag euogrwydd,
Fy nghymmorth ar bob tôn,
Fydd gwaed a dw'r a lifodd,
O'r archoll dan dy fron.

Yn awr 'rwy 'n gorfoleddu,
Am fod fy stôr a'm sail,
Ar gadarn graig yr oesoedd,
Sef haeddiant Adda 'r ail;

O atteb dros fy meiau,
  A golcha fi â'th waed,
Y'ngwydd yr holl angylion,
  Yn awr ger bron y Tad.

Mi bwysaf arnat, Arglwydd,
  Tra fyddwyf yma'n byw;
Dy angau sydd yn ddeilwng,
  Ti wyt anfeidrol Dduw:
'Does arall dan y nefoedd,
  All roddi i mi hedd,
A thawel orfoleddu,
  Yn wyneb angau a'r bedd.

## HYMN 120. M. N. 7 6.

### POTSDAM.

*Pob peth yn barod.*

MEA'r ffynnon yn agored,
  Dowch edifeiriol rai:
Dowch chwithau yr un ffunyd,
  Sy'n methu 'difarhâu:
Dowch a ga'dd galon newydd,
  Dowch chwithau na cha'dd 'run,
I olchi 'ch ffiaidd feiau,
  Yn haeddiant Mab y dyn.

Dowch bechaduriaid bellach,
  Na's gwelodd oleu'r dydd,
Mewn carchar tywyll pygddu,
  Yn methu myn'd yn rhydd;

Fe gododd haul o'r diwedd
Yn ddisglaer y prydnawn,
A egyr eich amrantau
I wel'd yn eglur iawn.

Fe rwygwyd muriau cedyrn
Fe dorwyd dôrau pres,
Oedd rhyngom ni a'r bywyd,
Mae 'r bywyd heddyw'n nes;
Palmantwyd yr holl lwybrau,
Mae 'r pyrth yn rhydd yn awr,
O ddyfnder dinas distryw
I eitha 'r nefoedd fawr.

Dymuno 'r wyf i dreulio
Fy amser yn y byd,
Bob dydd, bob awr, bob munud,
I'th ganmol di o hyd;
I mi y perthyn diolch,
Hyd byth i Iesu Grist,
Am achub f' enaid gwirion
O ddyfnder uffern drist.

## HYMN 121. M. N. 7 6.

### UXBRIDGE.

*Maddeuant a nerth trwy gredu.*

O YSPRYD pur nefolaidd,
Cyn 'r elwy' lawr i'm bedd,
Trwy ryw athrawiaeth hyfryd,
Gad imi brofi 'th hedd;

Cael profi llawn faddeuant,
  Maddeuant cyfan rhâd,
Yw cyntaf peth wy'n geisio
  Yr awrhon yn dy waed.

Mae ynddo nerth diderfyn,
  Doethineb mawr yn rhâd,
Deng miliwn o rinweddau
  Yn rhagor yn y gwaed:
Mae ynddo bob rhyw angen
  Sydd ar bechadur gwan,
Tan filoedd o ammheuon,
  I godi ei ben i'r lan.

Hwyrfrydig ei ddigofaint
  At rai sy 'n llawn o fai;
Wrth benna o bechaduriaid
  O'i fodd yn trugarhau:
Mae'n cadw rhad drugaredd
  I filoedd maith a mwy,
Ac er ei glod yn maddeu
  Eu haml feiau hwy.

RHAN II.

O cred, O cred, cai gymmorth
  I dynnu 'r llygaid de';
O cred, O cred, cai allu
  I dorri 'r fraich o'i lle;
Trwy gredu ti orchfygi
  Elynion rif y gwlith,
Cred yn yr Oen yn unig,
  Fe 'th wna di'n ddedwydd byth.

O tyred Ion trag'wyddol,
Mae ynot ti dy hun,
Fwy moroedd o drugaredd
Nag a feddyliodd dyn:
Os deui at angheuus
A'i godi ef i'r lan,
Ei galon gaiff, a'i dafod,
Dy ganmol yn y man.

A raid i minnau drengu,
O eisiau dyfroedd clir?
'Rwy bron llewygu'n tramwy,
Y dyrys anial dir:
Dwg fi i'r dyfroedd tawel,
Porfëydd gleision mawr,
Lle mae y rhai lluddedig,
Yn rhoddi eu pennau i lawr.

## HYMN 122. M. N. 7 6.

### Aberystwyth.

*Angeu y Messiah, a'i ogoneddus adgyfodiad.*

FY Nhad, fy addfwyn Iesu!
Boed clod i'th enw byth;
Doed dynion i dy foli,
Fel rhif y bore wlith;
O na ba'i gwellt y ddaear,
Yn delyn aur bob un,
I ganu i'r hwn a anwyd
I'r byd i brynu dyn.

Fe ddaeth i wella 'r archoll,
  Trwy gym'ryd clwyf ei hun ;
Etifedd nef yn marw
  I wellhau 'r marwol ddyn ;
Yn sugno 'n llwyr y gwenwyn,
  A rodd y sarph i ni,
Ac wrth y gwenwyn hwnnw
  Yn marw ar Galfari.

Bechadur gwel ê 'n sefyll
  Yn llonydd ar y groes,
Clyw 'r griddfan sy'n ei enaid
  Tan ddyfnder angeu loes :
O gwrando ar ei riddfan,
  Mae pob ochenaid ddrud,
Yn floedd y'nghlustiau 'r nefoedd,
  Am fadden beiau 'r byd.

RHAN II.

Gwel ar y croesbren chwerw,
  Gyfiawnder mawr y ne'.
Doethineb a thrugaredd
  Yn gorwedd mewn un lle ;
A chariad anfesurol
  Yn awr i gyd yn un,
Fel afon fawr lifeiriol,
  Yn rhedeg at y dyn.

Ac yna yr adgyfododd,
  Yn ogoneddus iawn ;
Daeth bore teg a hyfryd,
  'Nol tywyll ddu brydnawn :

Gorchfygodd angeu ei hunan,
O'r carchar daeth yn rhydd,
Y gadwyn fawr a dorrodd,
Ar wawr y trydydd dydd.

I fynu daeth o Edom,
A'i wisg yn goch ei lliw;
Nis gall'sai un creadur,
Mewn cadwyn gadw'm Duw;
Fe dorrodd rym yr angau,
Fe agorodd ddrysau'r bedd,
Palmantodd ffordd o'r ddaear,
Yn awr i ganol hedd.

A dyma waith fy Mhrïod,
'Nawr ar ddeheulaw'r Tad,
Yw dwyn y'mlaen bob grouyn,
O'm hiachawdwriaeth rad,
Da im' oedd iddo fyned,
Myrdd o fendithion sy,
Fwy o'i fod yn y nefoedd,
Nag yma gyda ni.

## HYMN 123. M. N. 76.

### Denton Green.

*Clodforedd y gwaredigion.*

O Arglwydd rho i mi dafod,
Na thawo ddydd na nos,
Ond adrodd heb ddiffygio,
Am rinwedd gwaed y groes;

Na ddelo gair o'm genau,
  Yn ddirgel nac ar g'oedd,
Ond am fod Iesu anwyl,
  Yn wastad wrth fy modd.

O Iesu, pwy all beidio,
  Dy ganmol ddydd a nos?
A phwy all beidio cofio,
  Dy farwol ddwyfol loes?
A phwy all beidio a chanu,
  Am iachawdwriaeth râd,
Ag sydd yn teimlo gronyn,
  O rinwedd pur dy waed?

Gwaredu ei saint o uffern,
  A phechod drwg ei ryw,
O safn y bedd ac angeu,
  A'u dwyn i fynwes Duw;
A'u harwain trwy'r anialwch,
  A'r bryniau anial syth:
A grëa nef y nefoedd,
  Yn gân heb ddiwedd byth.

O enw ardderchoccaf,
  Yw enw marwol glwy!
Caniadau'r holl angylion,
  A fydd fath enw mwy;
Bydd yr anfeidrol ddyfais,
  O brynedigaeth dyn,
Gan raddau filoedd yno,
  Yn cael ei chanu'n un.

RHAN II.

Ni fedr daear ganu,
A'i holl soniarus lef,
Ganiadau gan felysed,
Fydd yn ei gwm'ni ef;
Ond 'nawr holl nef y nefoedd,
Mewn un hyfrydaf dôn,
A seiniant gyd â'u gilydd,
Ogoniant mawr yr Oen.
Pan ddelo'r awr i fynu,
A deued yn ei phryd,
Doed angeu pan y delo,
Ffarwel ofidiau'r byd,
I arell fyd im' ganwyd,
I arall fyd 'rwy'n myn'd,
'Dwy'n disgwyl neb ond Iesu,
O'r ddaear yma'n ffrind.
Rwi'n ceisio craffu'm llygaid,
Ar hyfryd waed y groes:
Dal f' enaid afael arno,
Yn nyfnder angau loes:
Mi lecha yn y ddaear,
Caiff llwch at lwch i fyn'd:
O angau ti gai wybod,
Fod Iesu i mi'n ffrind,
Mi gâf fy nghorph i fynu,
Fel fy anwylyd ef.
Heb unrhyw nwyd llygredig,
I'm blino fel y bu:

Y'nghanol myrdd myrddiynau,
  Yn hyfryd lawenhau,
Yr anthem ydyw cariad,
  A chariad i barhau,

## HYMN 124. M. N. 7 6.

SHREWSBURY.

*A hwy a ddechreuasant fod yn llawen.*

CANED y genedl gyfiawn,
  Daeth Iesu i'w rhyddhau;
Mi wela 'r dydd yn dyfod,
  Y derfydd ei holl wae:
Mae f'enaid gwan yn credu
  Ar fyr yr ochr draw,
Y'mhlith y dorf aneirif,
  Cai delyn yn fy llaw.

Ar fyr câf rodio'r llwybr,
  Na ddeuaf byth yn ol,
Mi rof ffarwel drag'wyddol,
  I'r holl forwynion ffol:
Dedwyddwch mawr di-ddarfod,
  Sydd uchod i barhau,
O f'enaid dechreu ganu,
  Mae'r amser yn nesâu,

Ymado wnaf â'r babell,
  'Rwy'n trigo ynddi' n awr
Colofnau 'r tŷ ddattodir,
  Fe'i cwympir oll i lawr:

A pob gwahan-glwyf ymaith
  Glân fuddugoliaeth mwy,
'Rwy'n canu wrth gofio'r bore,
  Na welir arnai glwy.

Dyma y lle bydd canu,
  Gan seintiau hyfryd sain;
Rhyfeddod fydd fy 'ngweled,
  Yn canu gydâ'r rhai'n:
Rhyfeddod nef a daear,
  Fydd gweled un mor ddu,
Yn wyn heb un brycheuyn,
  Y'mlith y nefol lu.

Teilwng yw'r Oen a laddwyd,
  O'r holl ogoniant mawr,
Trwy ganol nef y nefoedd,
  Ac yma ar y llawr;
Pan elo'r holl greadigaeth,
  Yn ulw gan y tân.
Teilyngdod Iesu drosof,
  Fydd fy nhrag'wyddol gân.

HYMN 125. M. N. 7 6.

ST. THOMAS.

*Rhyddid i'r caethion.*

AGORODD ddrws i'r caethion.
  I ddo'd o'r cystudd mawr;
A'i werthfawr waed fe dalodd,
  Ein dyled oll i lawr:

Nid oes dim damnedigaeth,
  I neb o'r duwiol hâd,
Y gwaredigion canant,
  Am rinwedd mawr ei waed.

Fe genir ac fe genir,
  Yn nhrag'wyddoldeb maith,
Os gwelir un pererin,
  Mor llesg ar ben ei daith;
A gurwyd mewn tymhestloedd,
  A olchwyd yn y gwaed,
A ganwyd ac a gadwyd,
  Trwy iachawdwriaeth rad.

Ce's ddw'r o'r graig i yfed,
  I dorri'm syched mawr,
Ce's beunydd fara i'w fwytta,
  O'r nef y daeth i lawr;
Ce's delyn tu yma i angau,
  Fy holl gystuddiau ffodd,
I ganu i'r Oen fu farw,
  Mae'n briod wrth fy modd.

Dyma yr un sy'n maddeu,
  Pechodau rif y gwlith;
Does mesur ar ei gariad,
  Na therfyn iddo byth:
Mae'n 'mofyn lle i dostario,
  Mae'n hoffi trugarhau,
Trugaredd i'r amddifaid,
  Sydd ynddo yn parhau.

Brawd anwyl sy'n ein cofio,
Mewn oriau cyfyng caeth,
Brawd llawn o gyd-ymdeimlad,
Ni chlywyd am ei fath:
Brawd cadarn yn y frwydr,
Fe geidw ei frodyr gwan,
Yn dirion dan ei aden,
Fe ddaw â'r llesg i'r lan.

## HYMN 122. M. N. 7 6.

### Merioneth.

*Marwolaeth, adgyfodiad ac eiriolaeth Crist.*

Fyth, fyth, rhyfeddai'r cariad,
Yn nhrag'wyddoldeb pell,
A drefnodd yn yr arfaeth,
I'm etifeddiaeth well,
Na r ddaear a'i thrysorau,
A'i brau bleserau ynghyd,
Fy nghyfoeth mawr ni dderfydd
Yw Iesu brynwr byd.

Ar noswaith oer fe chwysai
Y gwaed yn ddafnau i lawr;
Ac ef mewn ymdrech meddwl,
Yn talu'n dyled mawr:
Fe yfai'r cwppan chwerw,
Wrth farw ar y pren,
Palmantodd ffordd i'r bywyd,
O'r ddaear hyd y nen.

Rhyfeddai'r fuddugoliaeth,
  Ar ben Calfaria fry;
Wrth farw fe orchfygodd,
  Fy holl elynol lu;
Caethiwodd bob caethiwed,
  Rhoes roddion i'w holl saint,
Na fedr neb tafodau,
  Fynegi byth eu maint.

Trag'wyddol clod i'r cyfiawn,
  Fu farw dros fy mai;
Fe adgyfododd eilwaith,
  O'r bedd i'm cyfiawnhau:
Ar orsedd ei drugaredd,
  Mae'n dadleu yn y ne',
Ei fywyd a'i farwolaeth
  Anfeidrol yn fy lle.

Er gwaetha'r maen a'r gwilwyr,
  Fe gododd Iesu'n fyw;
Daeth yn ei law alluog,
  A phardwn dynolryw;
Gwnaeth etifeddion uffern,
  Yn etifeddion nef;
Fy enaid byth na thawed,
  A chanu iddo ef.

### HYMN 120. M. N. 7, 6.

AFRICA.

*Ymbil am faddeuant, a iachad o'r llesgedd.*

NI cheisiai yn wyneb Moses,
  Ond Iesu i ddadleu 'nghwyn

Y cyfiawn dros 'r anghyfiawn,
 Fu farw er fy mwyn,
Yn ymchwydd yr Iorddonen,
 Ac yn y farn a ddaw,
Dihangol yn y diwedd,
 A fyddaf yn ei law.

Dy hen addewid rasol,
 A gadwodd rif y gwlith,
O ddynion wedi eu colli,
 A gân am dani byth:
Er cael eu mynych glwyfo,
 Gan bechod is y nen,
Iacheir eu mawrion glwyfau,
 A dail y bywiol bren.

Gwasgara'r tew gymmylau,
 Oddi yma i dy fy Nhad,
Datguddia i mi beunydd,
 Yr iachawdwriaeth rad:
A dywed air dy hunan,
 Wrth f'enaid clwyfus trist,
Dy fod yn maddeu meiau,
 Yn haeddiant Iesu Grist.

Fe dderfydd i mi bechu,
 Iacheir yn lan fy nghlwy;
Ond byth ni dderfydd canu,
 Am fadden pechod mwy:
Câf gorph yr hen farwolaeth
 I lawr na chyfyd byth,
Ag wledd ar fynydd Seion,
 Drag'wyddol bur dilyth.

Mi gysgaf hun yn esmwyth,
  Ar fyrr yn llwch y llawr,
Yn holl-iach, wedi gorphen.
  Milwriaeth f' Arglwydd mawr.
Heb elyn i fy mlino,
  I drag'wyddoldeb maith,
Câf fuddugoliaeth hollol,
  Yn lân ar ben fy nhaith.

## HYMN 128. M. N. 7 6.

### Aberystwyth.

*Buddugoliaeth trwy y Cyfryngwr.*

CE'S gadarn graig i ymguddio,
  Ce's feddyg i'm iachâu;
Ce's hefyd Fugail ffyddlon.
  Ce's ffynnon i'm glanhau;
Ce's wisg i guddio 'm noethni,
  Ce's eli wrth fy nghlwy,
Ce's Briod diwahaniad,
  Ni byddai amddifad mwy,

Er bod y'ngrym y rhyfel,
  Y'nghanol mŵg a thân,
Gelynion am fy nifa,
  Tu ôl ac o'r tu blaen;
Er dyfned yw fy archoll,
  Ce's olew yn fy mriw,
A thyna pa'm 'rwi'n canu,
  A thyna pa'm 'rwi'n fyw.

Tra fyddwyf yn y rhyfel,
  Mi edrycha tu a'r nen,
Er gwaned yw fy ngolwg,
  Mi wela pwy sydd pen:
Y gwr fy dan yr hoelion,
  Sy'n gryf o blaid y gwan,
A than ei gysgod tawel,
  Mi ddeua'n iach i'r lann.

RHAN II.

'RWY yma dan y tonnau,
  Yn griddfan lawer awr,
Yn methu cadw ngolwg
  Ar y Messiah mawr:
Ar fyr daw'r dydd cai nofio
  I fewn i'w dawel hedd,
Ni chollai'r olwg arno,
  Yr ochr draw i'r bedd.

O deffro di, fy nghalon,
  Myfyria angau loes;
Pa dafod byth all adrodd
  Rhinweddau gwaed y groes?
Oddi yno y llewyrchodd,
  Y wawr nefolaidd sydd
Yn troi tywyllwch dudew,
  Yn oleu fel y dydd.

Ni bydd y wledd ond dechreu,
  Pan ddelo angau ddydd;
Fel 'r amlhao'r dyrfa,
  Caniadau fwy fwy fydd;

Ond pan ddel cyrph y seintiau,
Yn gryno i gyd o'r bedd,
Rhyw ddechre heb ddiwedd bythol,
Fydd y drag'wyddol wledd.

HYMN 124. M. N. 8 8 6.

DUWIOLDEB.

*Gorphenwyd.*

YN Eden, cofiaf hynny byth,
Bendithion gollais rif y gwlith,
Syrthiodd fy nghoron wiw;
Ond buddugoliaeth Calfari,
Ennillodd hon yn ol i mi,
Mi ganaf tra f'wyf byw,

Ar Calfari y'ngwres y dydd,
Y caed y gwystl mawr yn rhydd,
Trwy golli gwaed yn lli',
Ac yno talu anfeidrol iawn,
Nes clirio llyfrau'r nef yn llawn,
Heb ofyn dim i mi.

Caed y llieiniau yn y bedd,
Gan gonc'ro angau'i hun.
Mewn cwmmwl gwyn esgynodd ef
Mae'n awr yn eiriol yn y nef,
Darfydded son am ddyn.

O Iesu, 'm ffrind a'm prynwr rhad,
O'th galon wiw daeth mor o waed,
I olchi'm ffiaidd friw:

Rho i mi nerth i wneud fy nyth,
I'm henaid bach i'mguddio byth,
O fewn dy glwyfau gwiw.

HYMN 130. M. N. 8 8 6.

WALES.

*Taith y ddyweddi trwy'r anialwch.*

O PWY yw hon sy'n d'od yn hy,
Yn lew i'r lann fel rhwng dau lu,
O'r dywyll Aiphtaidd wlad,
Gan roddi pwys ei henaid pur,
Ar Iesu gwiw'r Messiah gwir,
Ei ffrind a'i phrynwr rhad.
Fel bore wawr fe welir hon,
Teg fel y lloer ei hwyneb llon,
Mewn cariad, gras, a hedd;
Fel haul, heb un brycheuyn du,
'N ofnadwy fel banerog lu,
On'd hyfryd yw ei gwedd?
O'r dyfnder du i'r lann y daeth,
Tua'r wlad sy'n llifo o fel a llaeth,
Yr etifeddiaeth fras:
Yn llawn o hedd, mae'n awr mewn hwyl
A'i nefol gaingc yn cadw gwyl,
I'r Oen am ddywfol ras,
Duw sy'ddi'n blaid, hi ga'dd o'i blaen,
Y cwmmwl niwl a'r golofn dan,
Enneiniad yr holl saint;
I'w dwyn i dir y Canaan draw,
Heb gyfeiliorni ar un llaw,
Nes cael meddiannu'r fraint.

## HYMN 131. M. N. 8 S.

### St Peters.

*Farwel wae croes wynfyd.*

Nawr 'rwy'n gweld yr ardal hyfryd
Hen gartrefle fy anwylyd,
Gwlad lle mae pob rhyw gysuron,
Yn llifeirio fel yr afon,

Ffarwel bellach, hen bleserau,
A dwyllodd f' yspryd fil o weithiau;
Cefais bleser can mil purach,
Na ddaw o'i ganlyn ofid mwyach.

Nef a daear byth ni phrisia
Y perl a ge's, mae'n well na'r India;
Iesu a'i drysor, dyna 'i sylwedd,
Nef y nefoedd yn y diwedd.

Blwyddau hirion o ryfela,
Yn oruchafiaeth a derfyna;
Fe dry galar am bob beiau
Yn hosanna, ond eu maddau.

Fe ddaw 'r dydd y caf fi ganu,
Concwest bai oedd yn fy maeddu:
Halaluia, nefol hyfryd,
Diwedd pechu, diwedd adfyd,

## HYMN 132. M. N. 8 8.

### Denbigh.

*Cydsain moliant y dyrfa yn y nef.*

F'ENAID cred, anghofia'th adfyd
Edrych i'r ardaloedd hyfryd

Ehed o'r byd sy'n fôr o drallod,
Y mae gwleddoedd i ti 'n barod.

Daccw'r gwledydd hyfryd helaeth,
A roddwyd i mi'n etifeddiaeth;
Lle mae cariad pur yn lifo,
Heb na thrai na therfyn iddo,

Mae rhwy dorf ddirif o seintiau,
Yn awr yn canu eu telynau,
Ac yn seinio Halaluia,
Dechreu anthem pen Calfaria,

Deng mil o delynau yn canlyn,
Cân nefolaidd, bur, diderfyn;
Y cerubiaid gyd a'r seintiau,
Yr un sylwedd eu caniadau

Wrth gofio glann yr hen Iorddonen,
Fy enaid athrist gân yn llawen;
Ar fyrr af finnau i'r wlad na dderfydd,
Llawn orfoled yn dragywydd.

## HYMN 133. M N 8 8.

### Denbigh.

*Hyfryd ollyngdod o bob gofid*

OS rhaid yfed dyfroedd Mara
Mewn anial blin tra paro 'ngyrfa:
O nertha di, fy Nhad a'm Harglwydd,
F'yspryd gwan mewn byd o dramgwydd

Daccw'r ffynnon bur hawddgara',
A gannodd filoedd fel yr eira,

Daccw'r dwr'r mi gwympaf iddo,
A deued i mi fel y delo,
'Rwy' fi'n myn'd i wlad i drigo,
Lle mae gloyw hedd yn llifo,
At gyfeillion mil mwy hawddgar,
Na neb a welwyd ar y ddaear.
Yno y derfydd fy ngbystuddiau,
Troir fy ngalar yn gauiadau;
Yn lle Mara a'i dw'r anhyfryd,
Câf yfed byth o afon bywyd.

## HYMN 134. M. N. 6, 4/6, 6.4

### Old 50.

*Marwolaeth adgyfodiad ac eiriolaeth Crist.*

RHYFEDDA hŷd a lled,
 Fy enaid trist.
Uchder a dyfnder maith,
 Marwolaeth Crist!
Pan gym'rodd agwedd gwas,
 A phechod cas ei ryw,
Bu farw yn ddigŵyn,
 I'n dwyn at Dduw.
Fe gymmerth arno'n cnawd,
 Ein brawd o'r bru;
Fe safai ar y bryn,
 Yn erbyn llu;
Gan sathru dan ei draed,
 Trwy'i briod waed ei hun,
Elynion ar fyrr dro,
 Heb ado un.

'Nol rhoddi 'n Harglwydd hael,
Yn wael ei wedd,
(Rhyfeddod mwya' erioed !)
Y'ngwaelod bedd ;
Ond ar y trydydd dydd,
Yn rhydd yr aeth efe,
Palmantodd lwybr gwych,
I entrych ne'.

'Nol gorphen ei holl waith,
Fe aeth i'r nef,
Lle mae ef yr awrhon,
Yn gwrando'n llef;
Yn eiriol drosom draw,
Ar fyrr fe ddaw 'n rhyddhau,
Mae'r amser ddydd a nos
Yn agoshau.

## HYMN 135. M. N. 6, 6. 4. 6.

*Os cydgyfodasoch gyda Christ*

NID allodd angau du,
Ddal Iesu'n gaeth,
Ddim hŵy na'r trydydd dydd,
Yn rhydd y daeth ;
Ni ddelir un o'i blant,
Er myn'd i bant y bedd,
Fe'u gwelir ger ei fron,
Yn llon eu gwedd.

Wrth wel'd yr angau du,
Yn nesu 'n awr,

'Rwy'n ofni ambell dro,
Wrth gofio'r awr ;
Pan gwelwy'r gwaith trwy ffydd,
Y trydydd dydd wnaeth Duw;
Mae ngobaith yn fwy cry',
'Doi fynu 'n fyw.

Er pydru y'ngwaelod bedd,
Yn farwedd fud,
Daw'r Iesu i'm codi n llon.
Ger bron ryw bryd:
A'm llygaid innau a'i gwel,
Mae'r gair dan sel yn wir,
A'r newydd ddedwydd ddydd,
Boreu-ddydd clir.

## HYMN 128. M. N. 6, 4, 6, 6.

BETHEL NEWYDD.

*Rhagor amlhaodd gras*

DAETH ffrydiau melus iawn,
Yn llawn fel lli;
O ffrwyth yr arfaeth fawr,
Yn awr i ni;
Hen iachawdwriaeth glir,
Aeth dros y crin-dir cras,
Bendithiwn ammod hedd,
O ryfedd ras!

Fe gymerth Iesu per
Ein natur ni,
Pwrcasodd ef i'w saint,
Bob braint a bri;

Gadawai'r nef o'i fodd,
  Fe gym'rodd agwedd gwas,
Frwyth y cyfammod hedd,
  O ryfedd ras!
Fel Oen arweiniwyd ef,
  I ddioddef loes;
Gogwyddo wnaeth ei ben,
  Ar bren y groes
Gorphenodd yn'r gwaith,
  O brynedigaeth dyn;
Diolch byth! mae nef a llawr.
  Yn awr yn un.
Ni phery'r anial maith,
  Fy nhaith yn hir;
Caf fyned yn y man,
  I'r Ganaan dir;
Fe geidw Iesu ei saint,
  Er cymmaint llid eu cas,
Fe gonc'ra gelyn llym,
  Trwy rym ei ras.

## HYMN 132. M. N. 8 8.

### Asia.

*Gwaed y taenelliad yn gwneyd y gydwybod.*

ARGLWYDD, ffoed cymmylau mwy,
  Grym euogrwydd damniol glwy';
Rho i mi brofi'th nefol hedd,
Afon bur tu yma i'r bedd;
Fel y gallwyf ddydd a nos,
Ymddigrifo dan dy groes.

Dyma'r tlawd a'r llesga' erioed,
Fethodd ddilyn ol dy droed
Llwybrau pur yw 'th lwybrau di,
Oll yn anwyl iawn i mi
Rhaid fy ngolchi oll yn wyn;
Cyn y teithwy'r llwybr hyn.
Daccw'r ffynnon, heddyw caed,
Gloyw ddyfroedd pur a gwaed,
Darddodd allan ar y bryn,
I olchi f'enaid bach yn wyn;
Dyma m nerth i fyn'd ymlaen,
Dyma sylfaen bur fy nghân.
Dyma'r dw'r, a dyma'r gwaed,
Sylfaen iachawdwriaeth rad;
Dyma'r lle mae'r nef ei hun,
Yn ymfoddloni yn y dyn:
A thyma'm hawl i'r nefol wlad,
Anfeidrol haeddiant dwyfol waed.
Iesu, gorphwys yn dy glwy'
Wna fy enaid bellach mwy;
Dyma noddfa werthfawr lawn,
Byth o fore hyd brydnawn;
Dyma 'nghysur a fy hedd,
A' m nerth i bara hyd y bedd.

HYMN 138. M N. 7, 7.

LOVE FEAST.

*Brawd a anwyd erbyn caledi.*

DYMA gariad nefoedd wen,
Yn disgleirio ar y pren;

Dyma daledigaeth lawn,
I ofynion trymion iawn;
Iesu gollodd ddwyfol waed,
Minnau gafodd wir iachâd.
'Does gyffelyb iddo ef,
Ar y ddaear, yn y nef;
Darfu ymffrost mawr y byd,
Iesu bia'r clod i gyd;
Wrth ei draed dymunwn fyw,
Holl ddedwyddwch f' enaid yw.
Ti dy hunan, Iesu mawr,
Yw fy noddfa ar y llawr;
Tegwch hardd dy wyneb pryd,
Mil hawddgarach yw na'r byd:
Gad i'm gael dy gwmni cu,
Yn yr hen Iorddonen ddu,
O bydd im' yn nerth bob pryd,
Yn holl gyfyngderau'r byd;
Dal fi'n nyffryn tywyll cas,
Hen angau llym, trwy rym dy ras;
Cadw yn dy fynwes gu,
F' enaid yn y frwydr ddu.

## HYMN 139. M N 6, 6, 8, 4.

LEONI.

*O lafur ei enaid y gwel.*

AM fod fy Iesu'n fyw,
Byw hefyd fydd ei saint.
Er gorfod goddef poen a briw,
Mawr yw eu braint:

Bydd melys lanio draw,
'N ol bod o donn i donn,
Ac mi ro'f ffarwel maes o law,
I'r ddaear hon.

Daeth allan ddw'r a gwaed,
Yn rhyfedd rad i ni;
Ni chollwn ddim o'r trysor gaed,
Ar Galfari;
Fe geuir myrdd yn wyn,
Oll fel yr eira mân,
Ceir gwel'd rhai ffieidd y pryd hyn,
Yn berffaith lân.

O angeu pur y groes,
Ti bellach fydd fy nghân;
'Doedd dw'r i'w gael ond ar y groes,
A'm golchai 'n lân
Y ffynnon loyw lawn,
Sydd barod iawn o hyd,
I olchi'r Ethiop du yn wyn,
Hyd eithaf byd.

Anturiaf bellach mwy,
Er cymmaint grym fy mai;
Trwy'r haeddiant dwyfol sy'n ei glwy',
Heb lwfrhau;
O flaen yr orsedd wen,
Ffieiddiaf ddyn o'r blaen,
Gan gredu gall Tywysog nen,
Fy ngwneud yn lân.

## HYMN 140. M. N. 7 4.

### EASTER.

*A'th hael Ysbryd cynnal fi.*

TRITHIO 'r wyf fynyddau maith,
Dyrys anial,
A gelynion ar fy nhaith,
Yn fy attal,
Ond mi wela'r hyfryd wlad,
Faith ei llawnder,
Ac i mewn i dŷ fy Nhad,
Af ar fyrder.

Mi gâf goncwest ynó'n lân,
Ar elynion,
Nwydau oedd yn caro o'r blaen,
Arnai'n gredion:
Ond ni ddaw pechod o unrhyw,
Fyth i mlino,
Na'r demtasiwn decca ei lliw,
I mewn yno.

Iesu cymmer fi'n dy gôl,
Rhag diffygio,
Na'd fy enaid bach yn ôl,
Sydd yn crwydro;
Arwain fi trwy'r anial maith,
Aml rwydau,
Fel na flinwyf ar fy nhaith,
Nes myn'd adre.

Dedwydd yw sy'n profi'th hedd,
A'th gymmundeb,
Ac yn gweled hyfryd wedd,
Dy lân wyneb;
Dy gyfeillach nefol wiw,
Fydd fy iechyd,
A dy heddwch hyfryd yw,
Fy ngwir fywyd.

HYMN 141. M. N. 7 4.

HORNSAY.

*Croeso i afradloniaid yn haeddiant Crist.*

MYN'D a wnaf dan godi'm llef,
A chyfadde',
Pechu wnes yn erbyn nef,
O'th flaen dithe',
Nid wyf deilwng fab i ti,
Dad trugarog,
Rho le i mi yn dy dŷ,
Fel gwas cyflog.
Dowch blant afradlon at eich Tad,
Mae i chwi groeso,
A fu mhell o dir eich gwlad,
Yn crwydro;
Mae'r llo pasgedig wedi 'i ladd,
Ni gawn wledda,
Ac mae'r gweision etto'n gwa'dd,
Halaluia.
Caned nef a daear lawr,
Fe gaed ffynnon,

I olchi pechaduriaid mawr,
Yn glaer wynion,
Yn y ffynnon gyda hwy,
Minnau 'molcha'.
Ac a ganaf fyth tra f'wy',
Halaluia.

Fe genir yno am y gwaed,
Gliriodd feiau,
Am y concwest mawr a gaed,
Ar Galfaria;
Gan iddo fyn'd i lawr i'r bedd,
A chyfodi,
Am hynny byddwn ar ei wedd,
Yn ei foli.

HYMN 142. M. N. 8, 6.

SION'S JOY.

*Gwledd yr Efengyl a chadernid Sion*

Y CWBL a feddai yn y byd,
O entrych nef i lawr,
A roed i gadw i gyd dan sêl,
Yn haeddiant Iesu mawr:
Dowch ac yfwch o'r bendithion,
Sydd yn llifo fel yr afon,
O Galfaria maes yn gysson,
Maith gyflawnder, maith gyflawnder,
Heb na therfyn byth na thrai.

Mae yma ffynnon sy'n glanhau,
'R aflanaf rai a gaed;

Fe gwirir pechaduriaid mawr,
  Trwy rinwedd dwyfol waed:
Dowch ac yfwch o'r bendithion, &c.

'Rwy'n disgwyl y ddedwyddaf awr,
  Pob cadwyn fyn'd yn rhydd:
Ac mi orfoleddа 'n awr,
  Wrth feddwl am y dydd;
Dyma'r fan y gwnaf fy nhrigfan
Ofewn muriau'r nef ei hunan,
Uwch law cyrhaedd byd a Satan,
Dinas gadarn, dinas gadarn.
Ar anfeidrol ddwyfol graig.

'Rwy'n trigo mewn anialwch maith,
  Gwlad galar, a gwlad gwae;
A themtasiynau ar fy nhaith,
  Sy bron a'm llwfrhau,
Dyma 'r fan y gwnaf fy nhrigfan, &c.

## HYMN 148. M. N.

### Ashley.

*Anchwiliadwy olud Crist.*

YM mhlith holl ryfeddodau'r nef,
  Hwn yw y mwyaf un:
Gwel'd anfeidrol ddwyfol Fod,
  Yn gwisgo natur dyn:
Mae ynddo drysor fel y cefn-fôr,
Byth ni cheisiaf ddim yn rhagor,
Hedd a bywyd yw ei ffafor,
Nefoedd berffaith, nefoedd berffaith
Yw cael yfed dwyfol hedd.

Doed troeiniaid yma ynghyd,
  Yn lluoedd heb ddim rhi'.
En gwa'dd y gaent i wledda i gyd,
  Ar haeddiant Calfari:
Mae ynddo drysor, fel y cefn-for, &c.
Fe ylch ein beiau'n llwyr a'i waed,
  Fe'n cana oll yn wyn;
Fe'n dwg o'r anial maith yn lan,
  I ganu ar Sion fryn
Mae ynddo drysor, fel y cefn-for, &c.
Mae mil o filoedd ger ei fron,
  Yn treulio'r amser maith;
Ac fyth heb golli'r cariad pur,
  Na'r pleser yn y gwaith,
Mae ynddo drysor, fel y cefn-for, &c.

## HYMN 144. M. N.

### ASHLEY.

*Clodforedd y saint am rad ras*

WEL, dyma gyfoeth gwerthfawr llawn,
  Uwch holl drysorau'r llawr,
Wedi roi gadw oll ynghyd,
  Yn haeddiant Iesu mawr,
Boed trag'wyddol barch a moliant,
  Byth i frenin y gogoniant,
Ar ei efengyl wen b'o llwyddiant,
  I ddwyn heddwch, i ddwyn heddwch,
I derfynau eitha 'r byd.
Ei gariad lifodd ar y pren,
  Fel moroedd mawr di-drai;

Ac fe bwrcasodd yno hedd,
Drag'wyddol i barhau,
Boed trag'wyddol barch a moliant, &c.

Er maint fy llygredd o bob rhyw,
Er cymmaint yw eu rhif,
Ac er fy nwydau cyndyn chwith,
Sy'n para byth yn gryf:
Afon loyw redodd allan,
O orseddfa 'r nef ei hunan,
I olchi 'r euog, câs a'r aflan,
Halaluia. Halaluia,
Dw'r heb ddarfod, dw'r heb drai.

Af at yr orsedd fel yr wyf,
Anfeidrol orsedd gras;
Datguddia'i yno nghlwfau maith,
A'm holl archollion câs,
Afon loyw redodd allan, &c.

## HYMN 145. M. N

*Buddugoliaeth trwy Grist ar bob gelyn.*

MAE udcorn jubili,
Am baeddiant Calfari,
Yn seinio'n llon, y newyddion goreu i ni;
Gwir lawenhâ fy enaid prudd,
Ennillodd Iesu mawr y dydd,
Daw carcharorion angau o'u rhwymau,
oll yn rhydd.

Yn nyfnder pob rhyw loes,
A gorthrymderau f' oes,
Fy noddfa a'm nerth, yw'r aberth fu ar y groes,
Rhinweddol haeddiant marwol glwy'.
Yw nghyssur yn y byd tra bwy',
A'm hunig ddigonoldeb, i drag'wyddoldeb mwy.

Gorchfygodd Brenin hedd,
Fyd, uffern, angau a'r bedd,
Prïodi a wnaeth, yr hon oedd yn gaeth ei gwedd;
Am hyn crechwena Sion wan,
O'th ardal lesg, a thyr'd i'r lan,
Tywysog y tangnefedd, da' i rinwedd yw dy ran.

Rhyw dyrfa fawr heb ri',
Fu ar ein daear ni,
Tan lawer loes, a llid, a chroes, a chri;
Sy 'n awr mewn bywyd hyfryd hoen,
Ger bron gorsedd-faingc Duw a'r Oen
Heb deimlo mwy flinderau, effeithiau llid na phoen.

## HYMN 146. M. N.

*Iesu Grist oll yn oll i'r gwaredigion.*

TEG wawriodd arnom ddydd,
A welwyd gynt trwy ffydd,

Gan rai sy'n awr o'r cystudd mawr yn
rhydd,
Ac os oedd dyled arnynt hwy,
Foliannu'r Oen a'i farwol glwy',
Mae'n dyled ni genhedloedd, fil miloedd
foli mwy.

Trwy Grist a'i werthfawr waed,
Y daeth maddeuant rhad,
I ddynolryw, Iachawdwr gwiw a gaed
Ei fywyd pur a'i angau loes,
A'i ddioddefaint ar y groes.
A ddygo fy serchiadau, tra paro dydd-
iau f' oes.

Fy unig noddfa 'n awr,
I'm llonni ar y llawr,
A'm gwir iachau, yw clwyfau 'r Meich-
iau mawr;
Caf yno lechu'n dawel lân,
Yn Iesu cu, a seinio cân,
Pan syrthio 'r sêr yn gawod, a dyfod
diluw tân,

HYMN 147. M. N. 7, 7, 8, 7.

*Iachawdwriaeth gyflawn.*

LLANWED yr iachawdwriaeth,
Fel môr di drai yn helaeth,
A doed ynysoedd pell y byd,
I gyd gael meddyginiaeth:

Mae'r brenin ar ei orsedd,
Yn cynnyg o'i drugaredd,
I bechaduriaid tlodion gwael,
Dd'od atto i gael ymgeledd.

Mae'r dyled wedi ei dalu,
Ac uffern wedi ei maeddu,
Gobeithiol garcharorion sy,
Yn d'od yn llu i fynu,
Mae'r pyrth yn llawn agored,
Doed Israel o'r caethiwed,
Pob llesg a gwan, byth ger ei fron,
Cant weld yn llon ei nodded.

Mae'n achub hyd yr eitha,
Y pechaduriaid mwya',
Fe drefnwyd ffordd i gadw dyn,
Gan Dri yn Un JEHOFAH,
Anturiwn ninnau atto,
Mae Iesu'n achub etto,
A chroeso i bechaduriaid mawr,
Bob mynud awr ddo'd atto,

Hosanna, Halaluia,
I'r Oen fu ar Galfaria,
Gorphenodd iachawdwriaeth dyn,
Efe ei hun yw'r noddfa,
Trag'wyddol ddiolch iddo,
Am faddeu a thosturio,
Anfeidrol fraint i lwch y llawr,
Fod croeso'n awr ddo'd atto,

## HYMN 148. M. N. 2 S.

### DEVOTION.

*Dedwyddwch y nefol drigfannau.*

MAE, mae,
Yr amser hyfryd yn nesau,
Pan gaffo'm henaid ei ryddhau,
O'm ty o glai, fyn'd tu a'm gwlad,
Nid yma mae ngorphwysfa i,
Mae honno fry, yn nhy fy nhad.

Daw, daw,
Fy Iesu i'm harwain yn ei law,
O'r anial drwg i'r ardal draw,
I'r bywyd distaw, pur, diboen,
Caf ganu'n llafar gyd a'r llu,
Gân Moses fry, a chân yr Oen

Braint, braint,
Yw cael cymdeithas gyd a'r saint,
Na welodd neb erioed ei maint,
Ni ddaw na haint fyth iddynt hwy,
Y mae'r gymdeithas yma'n gref,
Ond yn y nef hi fydd yn fwy,

Ni ddaw,
Na phoen, na gofid, och na braw,
I neb o'r saint yr ochr draw,
Doent yn ei law i'r hyfryd wlad,
I seinio i drag'wyddoldeb mwy,
Am farwol glwy', ac am y gwaed.

Gwledd, gwledd,
O fythol a thrag'wyddol hedd,
Sydd yn y byd tu draw i'r bedd,
Ond hardd fydd gwedd y dyrfa i gyd,
Sy'n byw ar haeddiant gwaed yr Oen,
O swn y boen sy yn y byd,

HYMN 149. M. N. 2, 8.

BETHESDA.

*Yr hwn nid arbedodd ei briod Fab*

MAE, mae,
Y dydd yn d'od i'r duwiol rai,
I felys foli Duw'n ddi-drai,
Ym mhlith y rhai sy fry mewn hedd.
I'r addfwyn Oen, yn canu'n rhwydd,
Ac yn ei wydd, yn hardd eu gwedd,
Pa le,
Y gwnaf fy noddfa dan y ne',
Ond yn ei glwyfau anwyl e',
Y biccell gre' aeth dan ei fron,
Agorodd ffynnon i'm glanhau,
'Rwy'n llawenhau fod lle yn hon.
Yr Oen
Aeth dan fy mhenyd i a'm mhoen,
Ni thawai byth am dano a son,
Ei gariad tirion fydd fy nghân,
Am achub un mor wael ei lun,
A'm tynnu ei hun o'r gynnau dan.

Doed, doed,
Yr hyfryd fore goreu 'rioed;
I'r sawl sy'n dilyn ol dy droed;
Pob ofnau ffoed, darfydded braw,
Rho'th gariad im', addfwynaf Oen,
Mi garaf sôn am ddydd a ddaw.

HYMN 150. M. N. 2 8.

PROSPER.

*Diwedd galar dechreu gwynfyd*

CLOD, clod,
I'r hwn a'm carodd cyn fy mod
Mae'm llef am ddilyn ol ei droed;
Nes i'm gael d'od i'w dawel hedd,
I'r lle mae llawnder ar bob llaw,
Heb boen na braw, tu draw i'r bedd.

Daw dydd,
Y cân y dinasyddion sydd
Gan rym y donn, a'u bron yn brudd,
Y bore tawel sydd gerllaw,
Ac yno bydd soniarus don,
O fawl i'r Oen, heb boen na braw,

'Rwy, 'rwy,
Ar y terfyn i fyn'd trwy,
I'r wlad yn glau na theimlaf glwy,
Rhyw hyfryd sabboth pur dilyth,
Ym mysg y dyrfa bardd, ddiboen,
Yn canu i'r Oen, heb ddiwedd byth.

Eu cân,
Fydd am Galfaria, fawr a mân,
Ac oll yn gariad, oll yn dan;
Yn gwel'd yn lan, lwyr gwblhau,
Bob gair a ddaeth o'i enau ef,
A'i gariad ef byth yn parhau,

## HYMN 151. M. N. 2, 8.

### Dryfield.

*A chanu y maent gân Moses a chân yr Oen.*

Bydd, bydd,
Yn llawen Sion, daeth y dydd,
I gael o'r diwedd fyn'd yn rhydd,
Wele, dy frenhin wedi d'od,
Dy holl elynion sydd mewn braw,
Gwna ol ei law, boed iddo'r clod.
Fe gân,
Y gwaredigion, fawr a mân;
Drag'wyddol glod i'w priod glân;
Pan ddelo'r tân i losgi'r tir,
Cânt godi eu penau a llawenhau,
Ei poenus wae, â heibio'n wir.
Mae braint,
Yn awr yn eiddo i bawb o'r saint,
'Does tafod fyth fynega ei maint;
Can's diangc wnant o wlad y boen,
I'r fythol wledd, y faith barhad,
Bwrcasodd gwaed yr addfwyn Oen.

Daeth trwy,
Fy Iesu glân, a'i farwol glwy',
Fendithion fyrdd, daw etto fwy,
Mae ynddo faith, ddiderfyn 'stôr;
Ni gawsom rai defnynau i lawr,
Beth am yr awr, cawn fyn'd i'r môr!
'Does mwy,
Ar ol pob gwledd, ond aml glwy',
A thristwch yn y byd lle 'rwy':
Mae hiraeth trwy fy enaid cu,
Am fy rhyddhau o faich y cnawd,
Fyn'd at fy mrawd, a'm priod fry.

HYMN 152. M. N. 2 8.

TRAWSFYNYDD.

*Effeithiau y Prynedigaeth*

BRYD nawn,
Ar y ddedwyddaf awr a gawn,
Y talodd Iesu 'n eitha' llawn,
Y ddwyfol iawn i'm hanwyl Dad:
Palmantodd ffordd o Galfari,
I'r nefoedd fry, trwy rin ei waed.
Mae'n awr,
Yn eistedd ar yr orsedd fawr,
Yn Arglwydd uffern, nef, a llawr,
Hyd fore wawr, yr olaf ddydd,
Pan 'ollyngo ei ddyweddi ddrud,
O lwch y byd, yn berffaith rydd.

Y rhai'n,
A wisgir oll â lliain main,
Telynau sydd, o beraidd sain,
I ganu anthem faith o glod,
I'r hwn fydd yn teyrnasu mwy,
Fe gafodd glwy', fe oedd erioed.

Fydd sôn,
Am alar, griddfan, gwae, na phoen,
Y'nghwmni addfwyn, anwyl Oen,
O fewn i Sion sanctaidd frŷ,
Ond yfed dyfroedd dwyfol glir,
A ddaeth yn wir, o Galfari.

Gwŷch sain,
Fydd etto am y goron ddrain,
Yr hoelion llym, a'r bicell fain;
Wrth gofio rhai'n, caiff uffern glwy',
Carcharau tynion aeth yn rhydd,
Fe gaed y dydd, Hosannah mwy.

### HYMN 153. M. N. 2 8.

**Prosper.**

*Diogelwch yn angau y groes.*

NID oes,
Ni fu, ni ddaw mewn un rhyw oes.
O gymmaint gwerth a gwaed y groes,
Y ddwyfol loes ga'dd brenin nef;
O gariad mawr diderfyn 'stor,
Sydd fel y môr, byth ynddo ef.

Pwy, pwy,
Ymguddiodd yn dy farwol glwy',
Ac yna a fethodd dorri trwy
Gystuddiau mwy na gwellt y maes?
Mae'r fuddugoliaeth fawr yn d'od,
Hyd yma erioed trwy rym dy ras.
Af trwy,
Fy nhemtasiynau aml mwy,
Tan aden cariad d'wyfol glwy';
Mi a'i conc'raf hwy'n ei goncwest ef,
A'i allu yw fy noddfa glyd,
I ddringo o hyd i ganol nef.
Erioed,
Mae'n dal y rhai sydd dan ei nôd,
Dan eitha' trais, na lithro eu troed;
Heb iddynt dd'od ar frys yn ol,
Ei Yspryd sy'n eu cadw 'n glyd,
Mewn dyrys fyd, o fewn ei gôl;
'Does dim,
O dan y nefoedd fawr o rym,
A'm deil i'r lann dan gystudd llym,
Ond cariad pur fy Arglwydd cu,
A hwn a'm nertha i fyn'd y'mlaen,
Trwy ddw'r a thân i'r Ganaan fry

## HYMN 154. M. N 2 8.

### DRYFIELD.

*Sain yr efengyl a chlodforedd y saint*

EI glod,
Sydd heb un terfyn iddo'n bod,
O aed y'mlaen fwy nag erioed

O gwmpas rhôd y ddaear fawr,
Nes elo sŵn efengyl wir,
I dorri'n glir fyrddiynau i lawr.

'Does drai,
Nac eisiau dim y man y mae,
Mae'n llenwi'r cyfan yn ddilai,
Pawb, O na bae yn gwel'd ei wedd,
Sychedant am ei wir fwynhau,
Mewn gwledd ddidrai, yn llawn o'i hedd.

Daw dydd,
I'r carcharorion fynd yn rhydd,
O'u holl gadwynau tynion sydd,
Mor felus fydd eu caniad hwy;
Am ddioddefaint addfwyn Oen,
Bydd hyfryd sôn, heb ddiwedd mwy.

Daw, daw,
Yr hyfryd fore, mae gerllaw,
Bydd pawb a'i delyn yn ei law,
Heb ofn na braw, y'nghwmni'r Oen,
Ond canu i drag'wyddoldeb maith,
Ar ben y daith, heb friw na phoen.

Clod, clod,
I'r Oen a laddwyd cyn fy mod,
Y parch a'r mawl i'w enw boed,
Am iddo erioed, a'i gariad rhad,
Ro'i serch ar wael syrthiedig ddyn,
Mawr iawn yw rhin ei ddwyfol waed.

## HYMN 155. M. N. 2, 8.

**Bethesda.**

*Gorchfygu trwy waed yr Oen*

NID oes
A ddeil fy yspryd dan bob croes,
Ond dwyfol haeddiant gwaed y groes;
Estyniad f'oes i'w ei fwynhau,
'Does gysur arall mewn un man,
Fe yw fy rhan, byth i barhau.

Mwy, myw
Yw buddugoliaeth dwyfol glwy',
A'i goncwest fawr a gyrhaedd trwy
Galonnau fwy na gwlith y wawr,
Yn nydd ei nerth yn llawn o'i hedd,
Ac ar ei wedd yn dyrfa fawr.

Mae, mae
Rhyw hiraeth ynof yn parhau
Am wel'd yr amser hynny 'n glau,
Y pryd y mae fy Arglwydd rhad,
I dderbyn ei ogoniant mawr,
Gan nef a llawr, am roddi ei waed.

O 'n awr,
Addfwynaf Iesu tyr'd i lawr,
Helaetha dy frenhiniaeth fawr;
Doed dedwydd awr, iachusol ddydd,
I'r carcharorion fyn'd, trwy ras,
O'r pydew cas heb ddw'r, yn rhydd.

Yn awr,
Sancteiddiol Ysbryd tyr'd i lawr,
Disgleiria hyfryd fore wawr;
Goleuni mawr o entrych nef,
I wel'd yn glau, yn olau clir,
Yr hyfryd dir bwrcasodd ef.

HYMN 156. M. N. 2, 8.

PROSPER.

*Byw wyf fi, a byw fyddwch chwithau hefyd.*

MAE, mae
Ein Harglwydd hael yn trugarhau,
Ei rad drugaredd sy'n parhau;
Nis gallwn lai na'i foli'n awr,
Am iddo'n dwyn i olau'r dydd,
A'n tynnu'n rhydd o'r cystudd mawr.
Mawr, mawr,
Yw'r gras eglurwyd i ni'n awr,
Mae'n dyled wedi ei thalu 'lawr
A'r ffordd o'r llawr i'r nef yn rhydd,
Gelynion yn eu hol sy'n troi,
Yn gorfod ffoi rhag arfau ffydd.
Yn lle
Y dynion gwaetha' dan y ne'.
Yr Oen difai, dioddefodd e',
A hyn wy'n ddadleu, f' anwyl Dduw;
A than ei gysgod gwnaf fy nyth,
Mi a'i caraf byth tra fyddwyf byw.

Byw, byw
Yw'r Iesu 'm ffrind a'm Prynwr gwiw,
Er iddo gynt gael marwol friw;
A sicr yw mai byw wna 'r saint,
O herwydd bod eu ceidwad cu,
Yn eiriol fry; rhyfeddol fraint!
Braint, braint
'Does neb a all fynegu ei maint,
Yw bod yn un o'r ffyddlon saint;
Pan ddel digofaint Duw rhyw ddydd,
Ar rai di-gred, fel tymhestl gre',
Y duwiol fe dihangol fydd.

## HYMN 157. M. N. 2, 8.

### TRAWSFYNYDD.

*Ardderchawgrwydd Crist, a gwagedd y byd.*

O Pwy,
All chwilio dyfais dwyfol glwy',
Sy'n anchwiliadwy hollol trwy
Bob rhan o hono oll i gyd?
Dyfnderau mawr ei gariad ef,
Ddadseinia 'r nef, pan ddarffo 'r byd.
Ei waed,
Oedd pwrcas drud yr hyfryd wlad,
Bart'odd ef i'm yn eithaf rhâd;
Ei gariad annherfynol maith,
A'm nertha'i bellach fyn'd y'mlaen,
Salem lân sy ar ben fy nhaith.

Fry, fry,
Uwch awyr las a'i disglaer lu,
Mae holl hyfrydwch f' enaid cu;
'Does dim daioni yma i'w gael,
'Rwy' wedi gwel'd a phrofi'r byd,
'Does ynddo i gyd ond gwagedd gwael,
Parhau
Mae cariad Duw i'w anwyl rai,
Hwy gânt yn wastad ei fwynhau,
Heb achwyn trai yr ochr draw;
O na bawn gyd âg ef yn byw,
Fy mhriod yw, pa bryd y daw;

HYMN 158. M N 5, 5, 11.

HORSINTON.

*Cysuron yr iechydwriaeth.*

Y CYSUR i gyd,
Sy'n llanw fy mryd, [byd.
Fod gennyf drysorau uwch gwybod y
Ac er bod hwy n'ghudd,
Na's gwel hwynt ond ffydd,
Ceir eglur ddatguddiad o honynt ryw ddydd.
Fy Iesu mwy fydd
Fy noddfa bob dydd, [rhydd.
O ddyfnder pydewa fe'm rhoddodd yn
Ni feddaf iachâd,
Un dim ond ei waed,
Fy heddwch a'm haeddiant, fy nerth a'm parhâd.

Rhyw afon a gaed,
O ddw'r ac o waed,
O'r orsedd ddisgleir-deg, mae'n rhedeg
yn rhad;
I wella fy mriw,
A'm meiau o bob rhyw,
A channu fy enaid, er dued ei liw.

I olchi fy mai,
Mae dyfroedd didrai,
Er maint yw fy nghulni, 'dyw 'n llenwi
ddim llai:
Ac er 'mod i 'nawr,
Yn lesg ar y llawr,
Fe'm ceuir yn ddiau, o feiau fu fawr.

Boed yma fy nyth,
A'm bywyd i byth, [lyth
Y'nghlwyfau'r Oen tyner, a'i lawnder di-
Ac yna câf fyw,
Er croesau o bob rhyw,
A'm henaid yn llawen, dan aden fy Nuw

## HYMN 159. M. N. 5, 5, 11.

### Horsington.

*Pob cyflawnder ynddo ef.*

'RWY'N gweled bob dydd,
Mai gwerthfawr yw ffydd,
Pan elwy' i borth angau fy angor i fydd;

Mwy gwerthfawr im' yw,
Na chyfoeth Peru,
A'i gwrth'rych a'm cynnal dydd dial ein Duw.

Ffarwel a fo i'r byd,
A'i bleser ynghyd,
Ar drysor y nefoedd fe redodd fy mryd:
Trwy'r byd y bo sôn,
Am bwrcas ei boen,
A chaned pob teulu mai teilwng yw'r Oen.

Rhyfeddod y byd,
Yw angau mor ddrud,
A gwreiddyn caniadau'r ffyddloniaid i gyd:
Er i'm gael iachâd,
Yn rhodd ac yn rhad
Fe gostiodd i'r Iesu roi drosof ei waed.

O haeddiant y gwaed,
Anfeidrol barhad!
'Does arall all osod fy meiau dan draed:
Mi wela'n ei glwy,
Gyfiawnder sydd fwy
Na meithder y moroedd, er lletted y'nt hwy.

Fy enaid i sydd,
Yn awr nos a dydd,
Am ganmol fy Iesu, a'm rhoddodd i'n rhydd:
Af bellach yn hŷ,
Tu a'r Ganaan sydd fry,
Mi wela'r addewid yn gadarn o'm tu.

## HYMN 160. M. N. 6, 6, 8, 8.

### CARMARTHEN NEW.

*Golwg ffydd ar ben y daith.*

MAE lluoedd maith y'mlaen
'Nawr o'u carcharau'n rhydd,
A gorfoleddu maen',
Oll wedi carrio 'r dydd:
I'r lann, i'r lann, dihang'sant hwy,
Yn ôl eu traed y sengwn mwy.

Gadewn y byd yn ol,
Y byd y cawsom wae,
Y byd ag sydd bob dydd,
Yn ceisio 'n llwfrhau:
Ni welwn wlad, rhwng sêr y nef,
Sy fil o welthiau 'n well nag ef.

Cawn lannio mewn i fysg
Y rhai y clywsom sôn,
Gannasant bawb ei wisg,
Yn nwyfol waed yr Oen:
A gwledda 'n llon, heb ddiwedd mwy,
Yn bur yn eu cwmpeini hwy.

Cawn wel'd yr addfwyn Oen,
Fu farw ar y bryn,
Yn medi ffrwyth ei boen,
Yn hyfryd y pryd hyn:
Myrddiynau heb rif yn canu 'nghyd,
I'r hwn fu farw dros y byd.

Fe gân 'tifeddion gras,
Ar fore glas a ddaw,
Wrth weled boddi'r Aipht,
A bwythau'r ochr draw:
Fy enaid 'hed i ben y bryn,
I wel'd y concwest rhyfedd hyn,
Câf wel'd Iorddonen faith,
Yn dal ei dyfroedd du,
I'm dwyn i ben fy nhaith,
Yr etifedd'aeth fry:
Pa'm 'r ofnai lu? mi âf y'mlaen,
I'r Canaan wiw trwy ddw'r a thân.

## HYMN 161. M. N. 6, 6, 8, 8.

### Lennox.

*Llawenhau mewn gobaith o feddiannu y wlad.*

MAE'R brenhin yn y blaen,
'R y'm ni'n awr oll yn hy;
Ni saif na dw'r na thân,
O flaen fath arfog lu:
Ni awn, ni awn, dan gân i'r lan,
Cawn wel'd ein concwest yn y man.
Ni welir un yn llesg,
Yn myddin brenhin nef;
Can's derbyn maent o hyd,
O'i nerthoedd hyfryd ef:
Ni gawn, ni gawn, y gloyw win
Melys ei ryw, sancteiddiol rin.

'Nawr mae cymylau'r nos,
Barhaodd amser mawr,
Yn agor ac yn ffoi,
O'flaen yr hyfryd wawr;
Fe gwyd yr haul, cawn wel'd yn glir,
Ein hetifeddiaeth cyn b'o hir.
A heibio'r dywyll nos,
Fe ffy cymmylau'r nen;
Fe ddaw 'r addewid wir,
A'i geiriau 'n bur i ben:
Cair gwel'd, cair gwel'd, yr hyfryd dir,
Ar fyrr o dro yn oleu clir.
Mae'r oriau maith yn wir,
Yn dirwyn yn y blaen,
Er bod nosweithiau 'n hir.
O'r diwedd darfod wnan':
Cymmylau'r nen, er maint eu grym,
O flaen y wawr ni safant ddim.

HYMN 162. M. N. 6, 6, 8, 8.

GROVE.

*Ymestyniad y Cristion at y pethau o'r tu blaen.*

CANED a welodd y wawr,
Yn codi o'r t'w'llwch du;
Caned a brofodd flas
Grawn-sypiau 'r Gonaan fry:
Ni ddown, ni ddown i Sion fry,
Er maint yr holl anialwch du.

Mae'r faner fawr y'mlaen,
'R efengyl wen o hyd;
Mae uffern lawn o dân,
Yn crynu 'n awr ynghyd;
Hi gwymp, hi gwymp, er maint ei grym.
O flaen yr Iesu 'dyw hi ddim.
Wel, bellach tyr'd y'mlaen,
Nac ofna f'enaid mwy,
Llai grym sy'n uffern dân,
Na dwyfol farwol glwy':
Telynau aur sy'n canu 'n un,
Effeithiol goncwest Mab y Dyn.
A thyma 'r bore ddydd,
Câf finnau seinio cân,
'Nol fy nghaethiwed maith,
Am waredigaeth lân:
O hyfryd ddydd, pa bryd y daw?
'Rwy'n ammeu fod y wawr gerllaw.

## HYMN 163. M. N. 6, 6, 8, 8.

### BIRMINGHAM.

*Ymorphwysiad yr enaid ar haeddiant Crist.*

DISGLEIRIA fore wawr,
'Nol nos o faith barhad;
Datguddia i mi 'n awr
Rhyw ran o'r hyfryd wlad,
Lle rhed afonydd dwyfol ryw,
Fel môr didrai dros Sion wiw.

O Ganaan hyfryd wiw,
Addawyd i myfi;
Cartrefle bur fy Nuw,
Uwch y ffurfafen frŷ;
Mi ddôf, mi ddôf i'r lann ryw awr,
Er maint sydd am fy nghadw i lawr.
Bydd di yn noddfa bur,
I'm henaid ddydd a nos;
Fy holl ddiddanwch gwir,
Fo 'n tarddu o waed y groes:
Distewi wnâf, mae trysor mwy
Na fedd y byd mewn marwol glwy'
Fy holl elynion hŷ,
A gawsant farwol glwy'
Ar hen Calfaria frŷ,
Pa'm 'r ofnai bellach mwy?
Mae haeddiant gwaed yn uwch ei gri
Na'm holl elynion mawr eu rhi'.
Wel, ymgysura 'n awr
Fy enaid eiddil gwan,
Sy'n cyffwrdd bob rhyw awr,
A rhwystrau y'mhob man:
Mae Duw o'm plaid, câf cyn bo hir
Wel'd meiau oll yn colli tir.

HYMN 164. M. N. 6, 6, 8, 8.
DRAWELLS.
*Hyder y credadyn ar addewid Duw.*

FY Iesu yw fy Nuw,
Fy noddfa gadarn gref,

Ni fedd fy enaid gwan
Ddim arall dan y nef;
Mae ef ei hun, a'i angau drud,
Yn fwy na'r nef, yn fwy na'r byd.
Y gair melysa' erioed,
Y cryfaf air ei rym,
Mi hail adroddaf ef,
Fod Duw yn briod im':
Mae hyfryd swn a sylwedd hwn,
Yn tynnu i ffwrdd fy maich a 'mhwn.
Ar ei addewid ef,
Sy fwy na geiriau dyn,
Er holl gymmylau'r nef,
Gorphwysaf yn ddigryn:
Fe'm deil i'r lann, a doed a ddêl
A ddaeth o'i enau sydd dan sêl.
Mi bwysaf ar ei air,
A deued oll yn groes;
Fy unig noddfa yw,
Tan eitha t'wllwch nos:
Fe wawria'r dydd, pob tro is nen,
Ddaw âg addewid nef i ben.

HYMN 165. M. N. 6, 6, 8, 8.

BRIDGE STREET.

*Disgwyliad yn nyfnder nos am fore tawel.*

NI phery ddim yn hir,
Y ddu dymhestlog nos,

Ni threfnwyd oesoedd maith,
I neb i garrio'r groes:
Mae'r hyfryd wawr sy'n g'leuo draw,
Yn d'we'yd fod bore braf gerllaw.

Mi wela'r cwmmwl du,
Yn awr y'mron a ffoi,
A gwynt y gogledd sy
Ychydig bach yn troi;
'Nol tymhestl fawr daw yn y man,
Ryw hyfryd hin ar f' enaid gwan.

Noddfa pechadur trist,
Tan pob drylliedig friw,
A phwys euogrwydd llym,
Yn unig yw fy Nuw:
'Does enw i'w gael o dan y nef,
Yn unig ond ei enw ef.

O na allwn roddi 'mhwys,
Ar dy ardderchog law,
A gado i gystudd ddo'd,
Oddi yma ac o draw:
A byw tan nawdd y dwyfol waed,
Y'ngolwg hyfryd dŷ fy Nhad,

O ffynnon fawr o hedd,
O anchwiliadwy fôr!
Sy'n cynnwys ynddo ei hun,
Ryw annherfynol stôr:
Bydd miloedd maith yn canu'n llon,
Drag'wyddol anthem ger ei fron.

## HYMN 166. M. N. 6, 6, 8, 8.

### CARMARTHEN NEW.

*Teilwng yw yr Oen a laddwyd.*

YMGRYMMED pawb i lawr,
I enw'r addfwyn Oen:
Yr enw mwya' mawr,
Erioed a glywyd sôn;
Y clod, y mawl, y parch a'r bri,
Fo byth i enw'n Harglwydd ni.

O nefol addfwyn Oen,
Sy'n llawer gwell na'r byd;
Mae lluoedd maith y nef,
Yn rhedeg arno eu bryd:
Mae'th ddawn, a'th ras, a'th gariad drud,
Yn llanw'r nef, yn llanw'r byd.

Bendithion heb ddim rhif,
Cysuron maith di-drai,
Sy'n tarddu o honot ti,
Fy Nuw, er maint fy mai:
Ni's gallaf byth ddymuno mwy,
Na'r trysor sydd mewn marwol glwy'

Llawn Halaluia mwy,
I frenhin nef a llawr:
Dioddefodd farwol glwy',
I'm dwyn o'r cystudd mawr:
O ddedwydd awr, O ddedwydd oes,
Bu'm Iesu farw ar y groes.

O estyn fraich i'th was,
Dangos d'effeithiol ras,
O'r tiroedd anial cas,
Dwg fi i'r lann.

Ond attat mae fy nghri,
'Does arall ond tydi,
All fy nglanhau;
Mwy haeddiant dwyfol waed,
Na'r pechod mwya' gaed,
A chryfach cariad rhad,
Na grym fy mai.

Cryfach addewid Duw,
Na'r pechod gwaetha 'i ryw,
Ni saif ê ddim:
'Dyw natur gadarn gref,
Ond dim i dân y nef,
Mae gair o'i enau ef
Yn fwy ei rym.

Pryd hyny mi âf trwy
Elynion fwy na mwy.
O ddedwydd ddydd!
Mae meddwl am y wawr,
Y jubil hyfryd fawr,
Yn peri i mi 'n awr,
Bron fyn'd yn rhydd.

Ungolwg ar dy wedd,
A'm cwyd i'r lann o'r bedd.
Er goleu clir;

I deithio yn y blaen,
Trwy ganol dw'r a thân,
Er g'lynion fawr a mân,
  I'r sanctaidd dir.
O gwawria foreu ddydd,
Pan caffwyf fyn'd yn rhydd
  O'm carchar caeth:
Pan doddo dwyfol wrês,
Y pyrth a'r barrau prês,
A minnau fyn'd yn nes
  I ben fy nhaith.

## HYMN 169. M. N. 6, 6, 4.

### BRIDGE WATER.

*Aberth Calfaria yn tawelu y gydwybod.*

IACHAWDWR dynolryw,
Tydi yn unig yw,
  Fy mugail da;
Mae angau'r groes yn llawn,
O bob rhinweddol ddawn,
A ffrwythau melys iawn,
  Rhai'n a'm iacha.
Arosaf ddydd a nos,
Byth bellach tan dy groes,
  I'th wir fwynhau;
Mi wn mai'r taliad hyn,
Wnaed ar Galfaria fryn,
A'm cannai oll yn wyn,
  Oddiwrth fy mai.

O ffynnon werthfawr rad,
Yr afon fawr o waed,
  Ar Galfari;
Dylifa i lawr i'r byd,
A chudd fy meiau i gyd,
Yn nyfnder cariad drud,
  Dyhaeddiant cu.
Mae torf aneirif fawr,
Yn ddisglaer fel y wawr,
  'Nawr yn y nef:
Trwy ganol gwawd a llid,
A gwrth'nebiadau'r byd,
Ac angau glas ynghyd,
  A'i carodd ef.
Yn gwisgo gynau gwyn,
Y gwelir saint am hyn,
  Ddydd sy'n nesâu:
Caniadau am ei glwy',
Fydd eu caniadau hwy,
A'r rhei'ny fyddant mwy,
  Byth i barhau.

HYMN 170. M. N. 6, 6, 4.

BERMSAY.

*Gweddi enaid llesg am rasol amgeledd.*

O TYRED, Arglwydd mawr,
Dyhidla o'r nef i lawr,
  Gawodydd pur;

Fel byddo i'r egin grawn,
Foreu-ddydd a phrydnawn,
I darddu'n beraidd iawn,
O'r anial dir.

Fy meiau fach a mawr,
Sy raid eu cael i lawr,
Cyn byddo hir:
Fe fynn cyfreithiau'r ne',
I dynnu'r llygad de',
A thorri'r fraich o'i lle,
Ei air sydd wir.

Ac er nad wyf ond gwan,
Os deli fi i'r lann,
Ni'm maeddir ddim,
Mae nerth dy fraich yn fwy,
Na'n holl fyddinoedd hwy,
Sy'n rhoddi i mi glwy',
Er maint eu grym.

Ni gerddwn tu a'r wlad,
Bwrcasodd dwyfol waed,
Y mae gerllaw,
Cawn oleu'r golofn dan,
I'n dwyn trwy'r mor yn lan
Ac ni gawn seinio can,
Yr ochr draw.

Rho gymmorth i mi fyw,
Tan aden bur fy Nuw,
Mewn lloches wir,

Ac yna mi af yn hy,
Trwy lunedd creulon cry,
Lle mae fy Iesu cu,
Cyn byddo hir.

HYMN 171. M. N. 8, 8.
LUTHER'S
*Minnau nesau at Duw sydd dda i mi*

O TYR'D i ben ddedwyddaf ddydd,
A gad i'm hyspryd fyn'd yn rhydd,
Rho brawf rho brawf ar frys i mi,
O ddwyfol haedd'ant Galfari'
Fel gallwyf rodio yn ddi-naccad,
Dan awel hyfryd rhin dy waed.
A threulio'm hamser ddydd a nos,
Mewn myfyr am dy angau loes.
O na bo gras o fewn y nef,
Ond caffwyf ran o hono ef!
A gwna na byddo gennyf flas,
Ond yn dy garaid a dy ras,
Fy unig gyssur yn y byd,
Fo edrych ar dy wyneb pryd,
A'm hamser elo heibio'n llawn,
Wrth ganu am dy ddwyol ddawn.
F' enaid 'hed tua'r nef o hyd,
Ac aed dy galon yno 'gyd,
A doed cystuddiau i mewn yn lli',
Minnau a gwynaf wrthyt ti,
'Does unrhyw ofid unrhyw boen,
Na wasgodd ar yr addfwyn Oen,

Ac yn ei ofid ef a'i gri,
Mae holl esmwythder f' enaid i.
Mi wn mai meiau duon iawn,
Yw'r achos o'm cystuddiau'n llawn,
Symmud fy mai fe gwymp y ffon,
O'th sancta'dd law y funud hon,
'Does yn dy galon ond lleshad,
Maddenant hedd a gwir iachad,
Cymmer dy ffordd can's credu'r wyf,
Mai dyna'r modd iacheir fy nghlwyf.

HYMN 172. M. N. 8, 7.

GILBOA.

DYMA babell y cyfarfod,
  Dyma gymmod yn y gwaed:
Dyma noddfa i lofruddion,
  Dyma i gleifion Feddyg rhad:
Dyma fan yn ymyl Duwdod,
  I bechadur wneud ei nyth,
A chyfiawnder pur y nefoedd,
  Yn siriol wenu arno byth.

Ffordd a drefnwyd cyn bod amser
  I gael diangfa o ddrygau'r ddraig,
Mewn addewid gynt yn Eden,
  Fe gyhoeddwyd Had y Wraig:
Ffordd i gyfiawnhau'r annuwiol,
  Ffordd i godi'r marw yn fyw,
Ffordd gyfreithlon i droseddwr
  I hedd a ffafr gyda Duw.

Wele Sinai a Chalfaria,
 Heddyw wedi do'd ynghyd;
Sylwedd mawr yr holl gysgodau,
 Yn wynebu'r Dwyfol lid:
Daccw'r cleddyf wedi deffro,
 Bil au'r ddeddf yn do'd y'mla'n,
Daccw aur y gwaredigion,
 Wedi ei buro yn y tân.
O ddyfnderoedd iachawdwriaeth,
 Dirgelwch mawr duwioldeb yw!
Duw y duwiau wedi ymddangos
 Y'nghnawd a natur dynolryw:
Dyma'r Person a ddioddefodd
 Yn ein lle digofaint llawn,
Nes i gyfiawnder weiddi, Gollwng
 Ef yn rhydd, mi gefais iawn,
Dyma frawd a anwyd i ni,
 Erbyn c'ledi a phob clwy':
Ffyddlon ydyw, llawn tosturi,
 Fe haeddai gael ei foli'n fwy:
Rhyddhawr caethion, Meddyg cleifion,
 Ffordd i Sion union yw;
Ffynnon loyw, Bywyd meirw,
 Arch i gadw dyn yw Duw.

HYMN 173. M. N. 8, 7.

CARLISLE.

BYDD melys gofio y cyfammod,
 Draw a wnaed gan DRI yn UN;

Trag'wyddol syllu ar y Person,
  A gym'rodd arno natur dyn:
Wrth gyflawni yr ammodau,
  Trist iawn hyd angau 'i enaid oedd;
Dyma gân y saith ugein-mil,
  Tu draw i'r llen mewn llawen floedd.
F'enaid trist wrth gofio'r frwydr,
  Yn llamu o lawenydd sydd;
Gwel'd y ddeddf yn anrhydeddus,
  A'r pechadur brwnt yn rhydd:
Rhoi Awdwr bywyd i farwolaeth,
  Claddu'r Adgyfodiad mawr,
A dwyn i mewn drag'wyddol heddwch,
  Rhwng nef y nef a daear lawr.
Efe yw'r Iawn fu rhwng y lladron,
  Dioddefodd yno angau loes;
Nerthodd freichiau ei ddihenyddwyr,
  I'w hoelio'n greulon wrth y groes:
Wrth dalu dyled pechaduriaid,
  Ac anrhydeddu deddf ei Dad,
Cyfiawnder oedd yn hardd ddisgleirio,
  Ninnau'n rhydd trwy'r cymmod rhad.
O f' enaid gwel y fan gorweddodd,
  Pen Brenhinoedd, Awdwr hedd!
Y greadigaeth ynddo'n symmud,
  Yntau'n farw yn y bedd:
Rhan a bywyd colledigion,
  Rhyfeddod holl angylion nef,
Gwel'd Duw mewn cnawd, a'i gyd-addoli
  Mae'r côr, gan weddi, Iddo Ef.

O ddedwydd ddydd, trag'wyddol orphwys
Oddiwrth fy llafur yn fy rhan,
Y'nghanol môr o ryfeddodau
Heb-waelod, terfyn byth na glann:
Mynedi ad helaeth mwy i bara,
O fewn trigfanau TRI yn UN,
Dw'r i nofio, heb fyn'd trwyddo,
Dyn yn Duw, a Duw yn ddyn.

HYMN 174. M. N. 8, 7.

TROWBRIDGE.

PECHADUR aflan yw fy enw,
O ba rai y penna'n fyw,
Rhyfeddaf byth fe drefnwyd pabell,
I'm gael yn dawel gwrdd a Duw.
Yno y mae yn llon'd ei gyfraith,
I'r troseddwr i gael gwledd
Duw a dyn yn gweiddi digon'
Yn yr Iesu'r aberth hedd.
Anturiaf atto yn hyderus,
Teyrnwialen aur sy'n ei law,
Estyniad hon sydd at bechadur,
Ni wrthodir neb a ddaw:
Af y'mlaen dan weiddi, Pechais,
Af a chwympaf wrth ei draed,
Am faddeuant, am fy ngolchi,
Am fy nghannu yn y gwaed.
Nid eill y moroedd mawrion llydain,
Guddio pechod o un rhyw,

Ac ni allodd dilaw cadarn,
  Ei foddi'n wir mae'n awr yn fyw,
Ond gwaed yr Oen fu ar Galfaria
  Haeddiant Iesu a'i farwol glwy,
Ydyw'r mor lle caiff ei guddio,
  Byth ni welir mo'no mwy.
Ffrydiau tawel byw rhedegog
  O tan riniog ty fy Nêw,
Sydd yn llanw ac yn llifo
  O fendithion o bob rhŷw;
Dyfroedd gloyw fel y grisial
  I olchi'r euog, nerthu'r gwan;
Ac a ganna'r Ethiop dua
  Fel yr eira yn y man.
Byw heb wres na haul yn taro.
  Byw heb ofni marw mwy;
Pob rhyw alar wedi darfod
  Dim ond canu am farwol glwy';
Nofio yn afon bur y bywyd,
  Bythol heddwch sanctaidd Dūi
Tan d'wyniadau digymmylau,
  Gwerthfawr angau Calfari

HYMN 175. M. N. 8, 7.

JORDAN.

MAE bod yn fyw yn fawr rhyfeddod
  Mewn ffwrneisiau sydd mor boeth;
Ond mwy rhyfeddod wedi 'mbrofi
  Y d'of o'r cystudd fel aur coeth;
Amser canu diwrnod nithio,
  Etto'n dawel heb ddim braw;

Y gwr sydd i mi yn ymguddfa,
Sydd â'r wyntyll yn ei law.
Mae'r dydd yn do'd i'r bad brenhinol
Gael mordwyo tu a'u gwlad,
O gaethiwed y priddfeini,
I deyrnasu gydâ'u Tad:
Eu ffydd yno a dry 'n olwg,
A'u gobaith eiddil yn fwynhad,
Annherfynol fydd yr anthem,
Derchafu'r Oen a'i werthfawr waed.
Bererin llesg gan rym ystormydd,
Cyfod d olwg gwel y wawr,
Yr Oen yn gweini'r swydd gyfryngol,
Mewn gwisgoedd lleision hyd y llawr
Gwregys auraidd o ffyddlondeb,
Wrth ei odre clychau'n llawn;
Llwyr faddeuant i bechadur,
Ar gyfrif ei anfeidrol iawn.

## HYMN 176. M. N. 8, 7.

### DISMISSION.

NID oes gwrthddrych ar y ddaear,
A leinw 'm henaid gwerthfawr drud;
Fy unig bleser a'm diddanwch,
Yw hyfryd wedd dy wyneb-pryd:
Gwedd dy wyneb dyrr y c'lymau,
A phob creadur ar y llawr,
Ac a wna enw câr a chyfaill,
Yn ddim er mwyn ei enw mawr.

Arogli'n beraidd mae fy Nardus,
  Wrth wledda ar y cariad rhad;
Zel yn tannio yn erbyn pechod,
  Caru delw sancteiddhad:
Tynnu ymaith law a llygad,
  Ynghyd ag uchel drem i lawr,
Neb yn deilwng o'i ddercbafu,
  Ond fy Iesu, Frenin mawr.
O am yfed yma beunydd,
  O ffrydiau'r iechydwriaeth fawr;
Nes fy nghwbl ddisyebedu,
  Am ddarfodedig bethau'r llawr:
Byw dan ddisgwyl am fy Arglwydd,
  A bod pan ddelo'n effro iawn,
I agoryd iddo'n ebrwydd,
  A mwynhau ei ddelw'n llawn.

## HYMN 177. M. N. 8, 7.

### DISMISSION.

LLWYBR cwbl groes i natur,
  Yw fy llafur yn y byd;
Ei deithio a wnaf er hynny'n dawel,
  Ond i mi gael dy wyneb pryd:
Codi'r groes a'i chyfri'n goron,
  Mewn gorthrymderu llawen fyw;
Ffordd union af, er mor arw,
  I ddinas gyfanneddol yw.
Addurna'm henaid â dy ddelw,
  Gwna fi'n ddychryn yn dy law,
I uffern, llygredd a chnawdolrwydd,
  Wrth edrych arnaf yma a thraw:

O am gymdeithasu a'r enw,
  Ennaint tywalltedig yw,
Yn halltu'r byd gan ber-arogli,
  O hawddgar ddoniau Crist fy Nuw.
O rwyga'r tew gymmylau duon,
  Sy'n cuddio gwedd dy wyneb gwiw
Nid oes bleser a'm diddana,
  Ond yn unig ti fy Nuw:
Can's mor didrai o bob trugaredd,
  Yw'th iachawdwriaeth fawr ei dawn
A lanwodd ac a lifodd allan,
  Ar Galfaria un prydnawn,
Mae fy nghalon am ymadael,
  A phob eulynod fach a mawr
Am fod arni'n agraffedig,
  Delw gwrth'rych uwch y llawr,
Anfeidrol deilwng i'w addoli,
  Ei garu ai barchu yn y byd;
Bywyd myrdd o safn marwolaeth,
  A gafwyd yn ei angau drud.

HYMN 178. M. N. 7, 7, 6, 5, 5,

FREF CASTLE.

HENFFYCH i'r bore hyfryd,
'Ddaw gelyn byth nac adfyd,
  I dir y bywyd fry,
Y seintiau ddaw 'nghyd,
Bob wyneb i'r byd,
  Yn unfryd yno i ganu.

Fry y' Nghaersalem dawel,
Y'mhell o swn y rhyfel,
  Caf uchel ganu clod;
Fy nefoedd ddiboen,
Fydd gweled yr Oen,
  Fe dderfydd son am bechod.
Gwneir diwedd ar bob blin-fyd,
Fy nghystudd mawr a'm hadfyd,
  Yn nhir y bywyd fry:
Tragwyddol fwynhad,
Yn nheyrnas fy Nhad,
  Heb unrhyw frad i'm drygu.
Mi gysgaf hun yn dawel,
Dros ennyd yn y grafel,
  Nes dattod trefn y rhod,
Ac yna mewn hedd,
Y codaf o'm bedd
  Ar ddisglaer wedd fy mhriod,

## HYMN 179. M. N. 8, 8, 6,

### HINTON.

MOR hawddgar deg yw Sion Duw
Ei brawd a'i Brenin sy' yndd'i byw
  Mor llawen ydyw 'llu,
Ei phriod ydyw hwn a'i gwnaeth,
Daw hon i'r lann i'r fan lle'r aeth
  I'r etifeddiaeth fry.
Hon yw dyweddi Had y wraig
Ei sail sydd gadarn ar y graig,
  Er gwaetha'r ddraig a'i had:

Mae fel arglwyddes deg ei gwawr,
Ei haul hi nid a byth i lawr,
A'n glodfawr trwy bob gwlad.
Y dinasyddion cyd-nesewch,
Holl filoedd Duw i foli dewch
A llawenhewch yn llon:
Fe ddarfu'r gauaf oer daw'r haf,
Heb deimlo clwyf na neb yn gaf,
Mae'r amser braf ger bron.

HYMN 180. M. N. 6, 6, 8, 8.

I FYNU at fy Naw,
Fy enaid cwyd dy lef
Heibio'r auraidd lu,
I entrych nef y nef:
Gostwng dy glust o'r bryniau fry,
O Arglwydd grasol, Cofia fi.
'Rwy' yma'n wael fy ngwedd,
Yn euog ac yn wan,
Gelynion creulon sy'n
Fy amgylchu y'mhob man;
Bydd i mi'n blaid i goncro'r llu,
O Arglwydd grasol, Cofia fi.
Yn wyneb uffern ddu,
Ac augau mawr ei rym,
Rho i mi nerth wrth raid,
Bydd di yn nodded im':
Yn nyfroedd cry'r Iorddonen ddu,
O Arglwydd grasol, Cofia fi.

### HYMN 181. M, C. 8, 6.

**CAMBRIDGE NEW.**

EIN Duw a'n Tad anfeidrol IOR,
Trag'wyddol Dri yn Un;
Llifo mae'th gariad fel y mor,
At wael syrthiedig ddyn.
Trag'wyddol Haul Cyfiawnder cu,
Disgleiria yn ein plith;
A llewyrch llon dy wyneb di,
A'n gwna ni'n ddedwydd byth.
Dadguddia'th hun i mi bob awr,
Tra fyddwy' yma'n byw;
A chwedi'n dwg fi ger dy fron,
Dros fyth i foli'm Duw.

### HYMN 182. M, C. 8, 6.

**BANGOR.**

NI wela'i gyfaill ar y llawr,
Ond Iesu mawr ei hun,
All gyd-ymdeimlo bob yr awr
A mi annheilwng ddyn.
Mewn myrdd o gyfyngderau bu
Yn Gyfaill ffyddlon im':
Y'nghanol gwendid lawer gwaith,
Chwanegodd i mi rym.
Ni fedda' y'ngwyneb calon ddu,
Ddim ond cyfiawnder nef;
Ni feddaf ddeall, dysg, na dawn,
Mae'r cwbl ynddo ef.

Fe bery ei ffyddlondeb ef,
  Pan dreulio'r nefoedd wen:
Yr ochor hyn a'r ochor draw,
  Boed Iesu byth yn Ben.

HYMN 183. M, C. 8, 6.

SUFFOLK.

CYDUNWN a'r angylaidd lu,
  Wrth orsedd Duw yn un;
Mil miloedd eu tafodau fry,
  A'u cydsain yn gyttun.
'Teilwng yw'r Oen, 'dadseiniant hwy,
  'O eitha parch a bri':
'Teilwng', attebwn ninnau'n fwy,
  'Bu farw drosom ni'.
Deu'd oll goruwch ffurfafen faith,
  A'r ddaear laith yn un,
I ganmol Duw a'i ryfedd waith,
  Yn iachawdwriaeth dyn.

HYMN 184. M, H. 8, 8.

DUKE SREET.

DYMUNAF fi ddyrchafu'n awr
Fy llais mewn mawl i'm Prynwr mawr
Son am ei garaid byth a wna';
Yr Iesu wnaeth bob peth yn dda.
O! caraid mwy na hwn nid oes,
Sef diodde' angau, angau'r groes;
O'm hachos i rhoed arno bla,
Yr Iesu wnaeth bob peth yn dda.

Iachawdwr holl-ddigonol yw,
I atteb angen dynol-ryw,
Iacha'dd y cloff, y dall a'r cla',
Gwnaeth ef i ddyn bob peth yn dda.
I'r gwan amddifad mae fe'n frawd,
Mae'n hynod dlws i'r enaid tlawd;
Ni fedraf draethu'i glod heb feth,
Can's da y gwnaeth Efe bob peth.
Beth wyf fi well meddiannu'n drist
Y byd i gyd a bod heb Grist?
Trysor difeth, mae'n bob peth im',
On bod heb Dduw yw bod heb ddim.

## HYMN 184, M, B. 6, 6, 8.

### WATERLOO.

MAE'R iachawdwriaeth rad,
Yn ddigon i bob rhai:
Agorwyd ffynnon er glanhad,
Pob pechod cas a bai.
Daw tyrfa rif y gwlith,
Yn iach trwy rin y gwaed;
Pwy wyr na byddaf yn eu plith,
Yn lan o'm pen i'm traed.
Er lletted yw fy mhla,
Er dyfned yw fy mriw,
Y balm o Gilead a'm hiacha,
Mae Crist yn Feddyg gwiw.

## HYMN 185. M. B. 6, 6, 8.

### PERSIA.

BOED Iesu im' o hyd,
Yn dwr a tharian gref,
Rhag dyfais Satan a'i holl lid,
A'i saethau tanllyd ef,
Ac yn'r Iorddonen fawr,
Boed yno y'ngrym y don,
Yn Arch-offeiriad anwyl iawn,
I'm dwyn y'mlaen yn llon.
Tangnefedd sydd i'r pell
A'r agos ynddo ef;
Mae croesaw'n awr i dd'od y'mlaen'
Yn eon tu a'r nef.
Yr Iesu ar y groes,
A wnaeth y ffordd yn rhydd;
Mae rhyddid 'nawr i dd'od y'mlaen,
Trwy'r sancteiddiolaf ffydd.

## HYMN. M. N. 8, 7.

### GILBOA.

YN y dyfroedd mawr a'r tonnau,
Nid oes neb a ddeil fy mhen,
Ond y ffyddlon archoffeiriad,
A fu farw ar a pren:
Cyfaill yw yn afon angau'
A ddeil fy mhen uwch law y don,
Golwg arno wna i mi ganu,
Yn yr afon ddofn hon.

HYMN 186. M. N. 7, 6.
ABERYSTWYTH.

AM graig i adeiladu,
Fy enaid chwilia'n ddwys,
Y sylfaen fawr safadwy,
I roddi arno'th bwys:
Bydd melys yn yr afon,
Gael craig a'm deil i'r lann,
Pan byddo pob ystormydd,
Yn curo f' enaid gwan.
Pa Dduw y'mhlith y duwiau,
Sydd debyg i'n Duw ni?
Mae'n hoffi madden'n beiau,
Mae'n hoffi gwrando ein cri,
Nid byth y deil eiddigedd,
Cwell ganddo drugarhau,
Er maint ein hannheilyngdod,
Mae'i garaid yn parhau.

HYMN 187, M. N. 7, 6.
ABERYSTWYTH,

DAW dydd o bwyso cywir,
Ar ddynion cyn b'o hir
Tu yma i afon angau,
Mae' mofyn am y gwir;
O dewch bechaduriaid,
Cyn ceffo'r drws ei gau,
Mae'r bywyd 'mron a darfod,
A'r amser yn bwyrhau.

Dewch bechaduriaid aflan,
I' mofyn am lanhad,
O de'wch ar frys nac oedwch,
Wynebwch ar y gwaed;
Pan ddelo dydd y cyfri',
Pryd hynny gwyn eich byd,
Os noddfa gewch gwybyddwch,
Diengwch rhag y llid.
Fe losga'r greadigaeth,
Feferwa'r moroedd mawr,
Fe d'wylla'r haulwen olau.
Fe syrthia'r ser i lawr,
Fe welir Iesu'n dyfod,
Fe g'wyd y meirw i'r lann,
Fe gryna'r annuwiolion,
Fe gana Sion wan.

HYMN. 188 M, N. 8 8

DERBY,

BYWYD y meirw tyr'd i'n plith,
A thrwy dy Yspryd arnom chwyth
Anadla yn grymmus ar y glyn,
Fel byddo byw yr esgyrn hyn.
Trwy bwrcas angau Crist ein pen,
R hwn fu'n dioddef ar y pren,
I 'nadlu daeth dy Yspryd di,
Ar esgyrn sychion megis ni.

### HYMN 189. M. N. 10, 10.

MOTTRAM.

*Cwyn enaid athrist am ymgeledd cyflwr.*

FY Nuw a'm Ior, fy Mhriod a fy Nhad,
Fy ngobaith oll, a'm iachawdwriaeth rad,
Ti fuost noddfa gadarn i myfi,
Gâd i mi etto gael dy gwm'ni di.

O cofia'th hedd rai prydiau roist i lawr,
I'm henaid trist mewn cyfynderau mawr;
O edrych etto, mae fy enaid gwan,
Gan rym y tonnau'n methu do'd i'r lann.

Mi rown y byd, ac oll sydd ynddo 'n awr,
Am dy fwynhau un fynud fach o'r awr;
Mae golwg arnat lawer iawn yn well,
Na llawnder trysor yn yr India bell.

Ond cael dy wedd, a rhîn dy farwol glwy',
A'th hyfryd hedd, nid ofnwn bellach mwy;
Nid oes a'm ceidw i o dan y ne',
Ond grym dy gariad rhonyn yn fy lle.

Danfon i lawr dy Yspryd sanctaidd mwy,
Datguddia rîn dy nefol farwol glwy';
A gwna i'm deithio drwy wynfyd a chroes,
Canu am danat nes darfyddo f' oes.

### HYMN 188. M. N. 10. 10.

UPTON.

MAE Eglwys Dduw, trwy'r ddae'r a'r nêf yn un,
Y meirw a'r byw, a'u cydsain yn gyttun;
Teilwng yw'r Oen, medd seintiau yn y nef,
Teilwng yw'r Oen, yw'n llafar ninau a'n llef.

Darfydded sôn am bob ymryson mwy.
Partîol farn, a rhagfarn 'lawr â hwy;
Doed yspryd hedd, tangnefedd yn eu lle,
A chariad pur, o'r cariad sy'n y ne'.
Gwna fi fel pren planedig, O fy Nuw,
Yn ir, ar lann afonydd dyfroedd byw;
Yn gwreiddio ar led, a'i ddail heb wywo mwy,
Yn ffrwytho dan gawodydd dwyfol glwy'.
Doed mawr a bach, o is a gwaelach ryw,
Rho'nt glod a mawl i ganmawl enw Duw;
Down ninnau i gyd o eitha'r byd heb wâd,
I'w foli'n faith am iachawdwriaeth rad.

## HYMN 191. M. N. 10, 10.

### Guestivey.

*Cadernid y Cyfammod.*

Cyfammod rhad, cyfammod cadarn Duw,
Ni syfl o'i le, nid îe a nage yw;
Cyfammod gwir, ni chyfnewidir chwaith,
Er maint eu pla, daw tyrfa i ben eu taith.
Pa'm 'r ofnwn mwy rhag colyn angau du,
Can's angau yw'r porth i'r ddinas freiniol fry;
Gorchfygu hwn fy Iesu gwn a wnaeth,
Yn llaw fy Nuw ni arswydaf rym ei saeth.
Pan elwy' i dre, i'r hyfryd gorlan fry,
Ni chrwydra' i mwy oddiwrth fy Mugail cu;
Wrth gofio'r daith, a'i holl ffyddlondeb ef,
Mi seinia 'i glod i entrych nef y nef.
Ar dir na môr ei debyg gwn nad oes,
Seraphiaid pur ni thraethant byth mo'i oes;
Dringo a wnaf, trwy nerth ei ras o'm gwae,
Nes caffwy'n glir ei weled fel y mae.

## HYMN 192 M. N. 10, 10.

### Wearisome.

*Ymestyniad at wlad yr addewid*

O F' enaid cod, sefydla'th wammal fryd,
Mae heibio'n myn'd pleserau gwag y byd;
O dring i fynu ac anghofia'n awr,
Bob peth a eilw'r ddaear yma'n fawr.

Draw, draw y'mhell tu hwnt i'r tywyll fedd,
Mae'th gysur oll, dy bleser a dy hedd;
Mae Iesu yno, fe ei hunan yw
'R cwbl a feddai byth, yn farw a byw.

Ffarwel, mi af mwy tu a gwlad o hedd,
Anturiio wnaf, er dychryniadau 'r bedd;
Mi wela mhriod pur addfwynaf draw,
Yn wyneb angau ar fy neheulaw.

Rho allu im', fy Nuw a'm hanwyl Dad,
I dd'we'yd yn dda am iachawdwriaeth rad;
Na byddo neges gennyf yma mwy,
Ond ymhyfrydu yn dy farwol glwy'.

Cael gwel'd dy wedd a phrofi'th nefol ddawn,
Wna ynof ryw gyfnewid ryfedd iawn;
Dim ond cael gwel'd dy wyneb hyfryd, sydd
Yn troi tywyllwch nos yn canol dydd.

O gwawria'n glau ddedwydda happus ddydd
O'r carchar caeth i'm henaid fyn'd yn rhydd;
Disgwyl yr wyf, bron weithiau a llwfrhau,
O law pob gelyn am gael fy rhyddhau.

## HYMN 193. M. N. 11, 11.

GALLESTR.

*Cariad mwy na hwn nid oes gan neb*

O GARIAD, O gariad, anfeidrol ei faint,
Fod llwch mor anheilwng yn cael y fath fraint;
Cael heddwch cydwybod a'i chlirio trwy'r gwaed,
A chorph y farwolaeth sef llygredd dan draed.

Nid oes ond y ffynnon anfeidrol ei rhîn,
A'm gylch fel yr eira, mae i'm genau fel gwin;
Ei phrofi'n sylweddol, effeithiol trwy ffydd,
A'm dwg yn ddiogel drwy'r rhyfel yn rhydd.

Ni allai'r holl foroedd byth olchi fy mriw,
Na gwaed y cre'duriaid er amled eu rhyw;
Ond gwaed y Messiah a'm gwella'n ddiboen,—
Rhyfeddol yw rhinwedd marwolaeth yr Oen.

Mae'r Jubil drag'wyddol yn awr wrth y drws,
Fe gododd yr haulwen ni gawsom y tlws;
Doed gogledd, a dwyrain, gorllewin a dê',
Yn lluoedd i foli Tywysog y ne',

Cawn wared o'n hadfyd, a'n gofid i gyd,
Pob terfysg, a dwndwr, a chynnwrf y byd;
'Ddaw blinder na thrallod, na phechod na phoen,
Na gelyn, na gormes i fynwes yr Oen.

Cyd-ganed y ddaear a'r nefoedd ynghyd,
Ogoniant trag'wyddol i Brynwr y byd:
Molianned pob enaid yr Arglwydd ar gân
Am achub anhydyn, bentewyn y tân.

## HYMN 194. M. N. 11, 11.

### Broughton.

*Cydymaith a gar bob amser*

MAE 'n bryd i ni ganu, ni gawsom y fraint,
Mae'r rhyfel yn cerdded o ochr y saint:
Gan hynny dechreuwch, mae'n ddigon o bryd,
I ganu caniadau i Brynwr y byd.
Fe safodd i fynu, fe 'nillodd fath glod,
Bydd myrdd yn ei ganmol tra'r nefoedd yn bod;
Efe wnaeth y cwbl, moliennir ef byth,
Gan nefoedd a daear yn dyrfa dilyth.
Yn awr fe orphenodd, fe grymodd ei ben.
Mae heddyw'n meddiannu'r holl ddaear a'r nen:
Mae'r meirw'n cyfodi, gorchfygodd y bedd,
Mewn awr o gyfyngder fe wrendy fy llef.
Fel hyn fe a'm carodd, yn rhodd ac yn rhad,
Pa drysor mor dirfawr a gwerthfawr a gaed!
Oen anwyl ei fynwes a gefais yn gu,
Ac ynddo'n guddiedig fy mywyd i sy.
Mi ge's y ffrind goren fyth fyth all'sai fod,
'R addewid a roddodd ni thorrodd erio'd;
Er byw'n ei ogoniant y'nghanol y nef,
Mewn awr o gyfyngder fe wrendy fy llef.

## HYMN 195. M. N. 11, 11.

### Geard.

*Cyfraith yr Arglwydd sydd berffaith*

LLYTH'RENNAU dy gyfraith sy berffaith bob un
Gosodaist hi'n reol dda ddoniol i ddyn;
Pan ddel yn llaw'r Yspryd, yn danllyd a dwys,
Daw'r enaid i ganfod ei bechod yn bwys.

A'r enaid gwir ofnus sydd barchus yn byw,
Llawenydd ei galon yw deddf union Duw:
Gorchymyn yr Arglwydd sy beunydd heb ball
Yn llewyrch i'w lygaid i wiliad i wall.

Ofn mabaidd sancteiddlan sydd lân a di-lid,
A barnau Duw uniawn sydd gyfiawn i gyd;
Maent yn fwy dymunol i'r duwiol a'r doeth,
Na meddu rhifedi i'w cyfri'n aur coeth.

Mae'r anwyl wirionedd i'r enaid heb gêl,
Yn llawer melysach a gwynach na'r mêl:
Mae buddiol rybuddion, cynghorion ynghyd,
O'u cadw bydd mawrion wobrwyon ryw bryd.

Ei gamwedd a'i fawr-wall, pwy ddeall yn dda?
Heb swn t'rannau Sinai, pwy lefai glanha
Fy meiau cuddiedig, tra pheryg' a ffol?
Dwg f'enaid sydd danynt oddiwrthynt yn ol.

Rhag rhyfyg annuwiol, echryslon a chas,
Sy'n tynnu dy ddig, Duw attal dy was;
A ffrwyth fy myfyrdod a'm traethodd bob tro,
I ganmol mawr rhinwedd fy Mhrynwr mi rho.

# CRYNODEB

O

# LYFR Y PSALMAU,

O

Gyfieithiad a Chyfansoddiad ;

Y DIWEDDAR

BARCHEDIG EDMUND PRYS.

*Archdiacon Meirionydd.*

## PSALM I.

Y SAWL ni rodia, dedwydd yw,
Yn ol drwg ystryw gyngor:
Ni saif ar ffordd troseddwyr ffol,
Nid eiste'n stol y gwatwor.

Ond ei holl serch ef fydd yn rhwydd
Ar ddeddf yr Arglwydd uchod;
Ac ar ei ddeddf rhydd ddydd a nos,
Yn ddiddos ei fyfyrdod.

Ef fydd fel pren plan ar lann dol,
Dwg ffrwyth amserol arno:
Ni chrina'i ddalen, a'i holl waith
A lwydda'n berffaith iddo.

Nid felly bydd y drwg di-rus,
Ond fel yr us ar gorwynt:
Yr hwn o'r tir a i chwyth a'i chwal,
Anwadal fydd ei helynt.

## PSALM II.

Gwas'naethwch chwi yr Arglwydd nef,
  Ac ofnwch ef trwy oglud:
A byddwch lawen yn Nuw cu,
  Etto trwy grynu hefyd.
Cusenwch y Mab, rhag ei ddig,
  A'ch bwrw yn ffyrnig heibio:
A gwyn eu byd pob calon lân,
  A ymddiriedan 'ynddo.

## PSALM III.

Tithau, O Arglwydd, ym mhob man,
  Ydwyt yn darian imi:
Fy ngogoniant wyt: tu a'r nen
  Y codi 'mhen fynu.
Ar Dduw yr Arglwydd, â'm holl lais,
  Y gelwais yn dosturiaidd:
Ac ef a'm clybu i ar frys
  O i uchel freinlys sanctaidd.
I'r Arglwydd byth (o achos hyn)
  Y perthyn iachawdwriaeth:
Ac ar ei bobl y disgyn gwlith
  Ei fendith yn dra helaeth.

## PSALM IV.

Pwy (medd llaweroedd) y pryd hyn,
  A ddengys in' ddaioni?
O Arglwydd, dyrcha d' wyneb-pryd,
  Daw digon iechyd in'.

Rhoist i'n calon lawenydd mwy
  (A hynny trwy dy fendith)
Nag a fyddai gan rai yn trin
  Amlder o'u gwin a'u gwenith.

Mi orweddaf ac a hunaf,
  A hynny fydd mewn heddwch:
Can's ti, Arglwydd, o'th unig air,
  A bair im' ddiogelwch.

## PSALM V.

Yn fore gwrando fi fy Naf,
  Yn fore galwaf arnat:
Can's nid wyt Dduw i garu drwg;
  Ni thrig i'th olwg anfad.

Dof finnau tu a'th dŷ mewn hedd;
  Am dy drugaredd galwaf:
Trwy ofn, a pharch, a goglud dwys,
  I'th sanctaidd eglwys treiglaf.

Can's ti (Arglwydd) anfoni wlith
  Dy fendith ar y cyfion:
A'th gywir serch, fel tarian gref,
  Rhoi drosto ef yn goron.

## PSALM VI.

O Arglwydd na cherydda fi
  Ym mhoethni dy gynddaredd:
Ac na chospa fi yn dy lid,
  Oblegid fy anwiredd.

Duw, gwared f' enaid; dychwel di,
Iacha fi a'th drugaredd
Nid oes yn angau gof na hawl:
A phwy a'th fawl o'r pridd-fedd?

Yr Arglwydd, clybu ef fy arch,
Rhof finnau barch a moliant:
Fe dderbyn fy ngweddi, a'm gwnedd;
Am hyn yr haedd ogoniant.

## PSALM VII.

O Achub fi, fy Nuw, fy Nef,
Can's mae fy hyder ynod,
Rhag fy erlidwyr gwared fi;
Can's mae o'r rheini ormod.

Ac am fod Duw yn canfod hyn,
Duw yw f'amddiffyn innau:
Duw sydd Iachawdwr i bob rhai
Sydd lân-difai 'u calonnau.

I'm Harglwydd Dduw rhof finnau glod;
Caf ganfod ei gyfiawnder:
A chanmolaf ei enw yn rhwydd,
Yr Arglwydd o'r uchelder.

## PSALM VIII.

O Arglwydd, ein Ior ni a'n nerth,
Mor brydferth wyt trwy'r holl-fyd;
Dy enw a'th barch a roist uwch ben
Daear ac wybren hefyd.

Wrth edrych ar y nefoedd faith,
  A gweled gwaith dy fysedd,
Y lloer, a'r ser, a threfn y rhod,
  A'u gosod mor gyfannedd;

Pa beth i'w dyn it' i'w goffau
  O ddoniau ac anwyl-fraint?
A pheth yw mab dyn, yr un wedd,
  Lle rhoi ymgeledd gymmaint?

## PSALM IX.

Clodforaf fi fy Arglwydd Ion
  O'm calon ac yn hollawl:
Ei ryfeddodau rhof ar led:
  Ac mae'n ddyled eu canmawl.

Byddaf fi lawen yn dy glod;
  Ac ynod gorfoleddaf:
I'th enw (O Dduw) y canaf glod;
  Wyt hynod y Goruchaf.

Gwna 'r Arglwydd hefyd hyn wrth raid;
  Trueiniaid fo'u hamddiffyn:
Noddfa a fydd i'r rhai'n mewn pryd,
  Pan fo caledfyd arnyn'.

A phawb a'th edwyn, rhon' eu cred
  A'u holl ymddiried arnat:
Can's ni adewaist (Arglwydd) neb
  A geisio 'i wyneb attat.

## PSALM X.

O Arglwydd, pa'm y sefi di
  Oddi wrthym ni cyn belled?
Pa'm yr ymguddi di a'th rym,
  Pan ydym mewn caethiwed?

Cyfod, Arglwydd, dyrcha'th law,
  Dy fod i'n cofio dangos:
Ac nac anghofia, pan fo rhaid,
  Dy weiniaid a'th werinos.

Tros yr ymddifaid y rhoi farn,
  A'r gwan fydd cadarn bellach;
Megis na's gall daearol ddyn
  Mo'r pwyso arnyn' mwyach.

## PSALM XI.

Yr Arglwydd o'i orseddfa fry
  At y llawr try ei olwg:
Gweithredoedd holl hiliogaeth dyn
  I'w lygaid ydyn' amlwg.

Ma'r Arglwydd o'r naturiaeth hon;
  Prawf cyfion er ymgeledd:
Ond cas yw gan ei enaid fo
  Ddyn drwg a hoffo wagedd.

Can's cyfion ydyw'r Arglwydd Nef;
  Cyfiawnder mae'n ei garu;
A'i wyneb at yr union try,
  A hynny i'w ymgeleddu.

## PSALM XII.

O Achub bellach, Arglwydd cu;
Fe ddarfu'r trugarogion:
A'r holl wirionedd ar ball aeth
O blith hiliogaeth dynion.

Pur iawn yw ge'riau'r Arglwydd nef,
A'i 'ddewid ef sydd berffaith,
Fel arian o ffwrn, trwy aml dro,
Wed'i goeth buro seithwaith.

Ti, Arglwydd, yn ol dy air di,
A'u cedwi mewn hyfrydwch
Byth rhag y drwg genhedlaeth hon,
Dy weision i gael heddwch.

## PSALM XIII.

Pa hŷd, fy Arglwydd, Dduw dilŷth?
A'i byth yr wy mewn anghof?
Pa guddio'r wyt (O Dduw) pa hyd,
Dy lân wyneb-pryd rhagof?

O Arglwydd, edrych arnaf fi,
A chlyw fy ngweddi ffyddlon:
Agor fy llygaid, rhag eu cau
Ynghysgfa angau digllon.

Minnau'n dy nawdd a rois fy ffydd,
A'm holl lawenydd eithaf:
Canaf i'm Duw a'm helpiodd i;
Gwnaf gerddi i'r goruchaf.

## PSALM XIV.

O'n nef yr edrychodd yr Ion
  Ar holl drigolion daear,
Y roddai neb ei goel ar Dduw,
  A cheisio byw 'n ddeallgar.

Fe giliodd pawb at lygredd byd,
  Ymdroent i gyd mewn bryntni;
Nid oes un a wnel well na hyn,
  Nac un a fyn ddaioni.

Pwy a all roi i Israel,
  O Sion uchel, iechyd?
Pwy ond ein Duw? yr hyn pan wnel,
  Bydd Iago ac Isr'el hyfryd.

## PSALM XV.

Dywaid i mi; pa ddyn a drig
  I'th lys barchedig Arglwydd:
A phwy a erys ac a fydd
  Ym mynydd dy sancteiddrwydd

Yr hwn a rodia'n berffaith dda,
  Yr hwn a wna gyffawnder:
A'r hwn a draetha o'i galon wir,
  A drig ar dir uchelder.

Na gwobr, na rhodd, yr hwn ni fyn,
  Er dal yn erbyn gwirion,
A wnelo hyn, ni lithra fyth;
  Fe gaiff y ddilyth goron.

## PSALM XVI.

Cadw fi, Dduw: can's rhois fy mhwys
A'm coel yn dra dwys arnad:
Fy Arglwydd wyt: mae dan fy mron
Y gyffes hon yn wastad.

Trwy Dduw y syrthiodd i mi ran
O fewn y fan hyfrytaf:
Digwyddodd i mi er fy maeth,
Yr etifeddiaeth lanaf.

Rhois Duw yn wastad ger fy mron;
O'r achos hon ni lithraf:
Can's mae ef ar fy neheulaw;
Yma na thraw ni syflaf.

## PSALM XVII.

Galw 'rwyf arnat, am dy fod
Yn Dduw parod i wrando:
Gostwng dy glust, a chlyw yn rhodd
Fy holl ymadrodd etto.

Cyfrinna dy ddaionus rad,
(Ti'r hwn wyt Geidwad ffyddlon)
I'r rhai sy'n ymroi dan dy law,
Rhag broch a braw y trawsion.

Cadw fi'n anwyl rhag eu twyll,
Fel anwyl ganwyll llygad;
Y'nghysgod dy adenydd di,
O cadw fi yn wastad.

Minnau mewn myfyr, fel mewn hûn,
A welaf lun d' wynebpryd;
A phan ddihunwyf o'r hûn hon,
Y byddaf ddigon hyfryd.

## PSALM XVIII.

O Ior fy ngrym, garaf di 'n fawr,
Fy nghreiglawr, twr f' ymwared;
Fy Naf, fy nerth, fy nawdd, fy Nuw,
Hwn yw fy holl ymddiried.

Pan alwyf ar fy Ior hynod,
I'r hwn mae clod yn gyfion;
Yna y'm cedwir yn ddiau,
Rhag drygau fy nghaseion.

Can's byw yw'r Arglwydd ar fy mhlaid,
Fy nghraig fendigaid hefyd:
Dyrchafer Duw; ynddo ef trig
Fy nerth a'm hunig iechyd.

Am hyn canmolaf di yn rhwydd,
O Arglwydd Dduw y lluoedd;
Canaf dy glod, a hyn fydd dysg
Ym mysg yr holl genhedloedd.

## PSALM XIX.

Datgan y nefoedd fawredd Duw,
Yr unrhyw gwna 'r ffurfafen;
Y dydd i ddydd a'r nos i nos.
Sy'n dangos cwrs yr wybren.

Er nad oes ganddynt air nac iaith,
Da 'dywaid gwaith Duw Lywydd;
Diau nad oes na môr na thir,
Na chlywir eu lleferydd.

Duw, attal feiau rhyfyg, chwant,
Na thyfant ar fy ngwartha;
'Yna byddaf wedi 'nglanhau,
O'm holl bechodau mwyaf.

O Arglwydd, fy nghrynwr a'm nerth,
  Bydded yn brydferth gennyd
Fy 'madrodd pan ddel ger dy fron,
  A'm myfyr calon hefyd.

## PSALM XX.

GWRANDAWED di yr Arglwydd Ner,
  Pan ddel cyfyngder arnad;
Enw Duw Jacob, ein Duw ni,
  A'th gadw di yn wastad.

Rhai ar gerbydau rhont eu pwys,
  Rhai ar feirch ddwys ymddiried;
Minnau ar enw'r Arglwydd Dduw,
  Mai hwnnw yw'n ymwared.

Cadw ni, Arglwydd â'th law gref,
  Boed Brenhin y nef drosom;
Gwrandawed hwnnw arnom ni,
  A'n gweddi pan y llefom.

## PSALM XXI.

O ARGLWYDD, yn dy nerth a'th rin,
  Mae'r Brenin mewn llawenydd;
Ac yn dy iechyd yr un wedd,
  Mae ei orfoledd beunydd.

Am fod y Brenin yn rho'i gred
  A'i 'mddiried yn yr Arglwydd;
Dan nawdd y Goruchaf tra fo,
  Gwn na ddaw iddo dramgwydd.

## PSALM XXII.

Fy Nuw, 'rwy'n llefain, tithau heb
  Roi im' mo'r atteb etto;
Bob dydd a nos mae 'nghri'n ddi-ffael,
  A heb gael mo'm dyhuddo.

Mynegaf finnau d'enw yn bur
  I'm brodyr yn yr orsedd;
Lle mwya'r gynnulleidfa lan,
  Dy glod a wna'n gyfannedd.

Trigolion byd a dro'nt yn rhwydd
  At yr Arglwydd, pan gofiant;
A holl dylwythau'r ddaear hon,
  Dont ger ei fron, ymgrymmant.

## PSALM XXIII.

Yr Arglwydd yw fy Mugail clau,
  Ni âd byth eisiau arnaf;
Mi gaf orwedd mewn porfa fras
  Ar lan dw'r gloywlas araf.

Fe goledd fy enaid ac am dwg
  'Rhyd llwybrau diddrwg cyfion;
Er mwyn ei enw mawr dilys,
  Fe'm tywys ar yr union.

Pe rhodiwn (nid ofnwn am hyn)
  Yn nyffryn cysgod angau;
Wyt gyda mi a'th nerth a'th ffon
  On'd tirion ydyw'r arfau?

O'th nawdd y daw y doniau hyn
  I'm canlyn byth yn hylwydd;
A minnau a breswyliaf byth,
  A'm nyth yn nhŷ yr Arglwydd.

## PSALM XXIV.

YR Arglwydd piau'r ddae'r lawr,
A'i llawnder mawr sy'n eiddo;
Yr Arglwydd biau yr holl fyd,
A'r bobl i gyd sydd ynddo.

Can's fe roes ei sail hi a'i gwedd
Yn rhyfedd uwch y moroedd:
Ac â'i gosododd hi yn lân
Yn drigfan uwch llif-ddyfroedd.

Dyrchefwch chwi, byrth, eich penau,
A chwithau ddorau bythol;
Can's Brenhin mawr daw i'ch mewn chwi,
Sef Pen bri gogoneddol.

Pwy, meddwch, ydyw'r Brenin hwn?
A gofiwn ei ogoniant?
Ior y lluoedd yw, Brenin hedd
A gogonedd, a ffyniant.

## PSALM XXV.

YR Arglwydd sydd union a da,
A 'i ffyrdd im' noddfa ydynt:
Fe arwain (fel y mae yn rhaid)
Y pechaduriaid ynddynt.

I'r sawl a gadwo ddeddfau'r Ion,
A'i union dystiolaethau,
Gwirionedd a thrugaredd fydd.
Ei lywydd yn ei lwybrau.

Er mwyn dy enw (O Arglwydd mau)
Duw, maddeu fy anwiredd:
Can's fy nhroseddiad i mawr yw,
Mwy ydyw dy drugaredd.

Ei holl ddirgelwch a ddysg fo,
  I'r sawl a ofno'r Arglwydd:
Ac o'i holl gyfamoddau glân
  Efe a'u gwna'n gyfarwydd.

## PSALM XXVI.

PRAWF di fy muchedd, Arglwydd da,
  A holi dull fy mywyd;
A manwl chwilia 'r galon fau,
  A phrawf f'arennau hefyd.

O flaen fy llygaid wyf ar led
  Yn gweled dy drugaredd:
Gwnaeth dal ar hynny, ar bob tro,
  I'm rodio i'th wirionedd.

Fe saif fy nhroed i ar yr iawn,
  Ni syfl o'r uniawn droedfedd:
Mi a'th glodforaf, Arglwydd da,
  Lle byddo mwya'r orsedd.

## PSALM XXVII.

YR Arglwydd yw fy ngoleu 'gyd,
  A'm iechyd; rhag pwy'r ofnaf?
Yr Arglwydd yw nerth f'oes: am hyn,
  Rhag pwy doe dychryn arnaf?

Un arch a erchais ar Dduw Naf,
  A hynny a archaf etto;
Cael dyfod i dŷ 'r Arglwydd glân,
  A bod a'm trigfan ynddo.

Duw, dysg i mi dy ffordd yn rhwydd,
  O herwydd fy ngelynion,

Ac arwain fi, o'th nawddol rad,
Yn wastad ar yr union.

## PSALM XXVIII.

BENDIGAID fyddo'r Arglwydd nef;
Fe glyhu lef fy ngweddi:
Yr Arglwydd yw fy nerth a'm rhan,
A'm tarian, a'm daioni.

Ymddiriedais iddo am borth,
A chefais gymmorth ganddo:
Minnau o'm calon, drwy fawr chwant,
A ganaf foliant iddo.

Yr Arglwydd sydd nerth i bob rhai
A ymddiriedai'n hylyn;
A'i Enneiniog ef a fydd maeth
Ac iachawdwriaeth iddyn'.

## PSALM XXIX.

RHODDWCH i enw 'r Arglwydd glôd,
Heb orfod mwy mo'eh cymmell:
Addolwch Arglwydd yr holl fyd:
Mor hyfryd yw ei babell!

Llais yr Arglwydd a dyrr yn fân
Y cedrwydd hirlân union:
Yr Arglwydd a dyrr yn ûs-wydd
Y cedrwydd o Libanon.

Llais yr Arglwydd a piau'r glod,
Pair i'r ewigod lydnu:
Dinoetha goed: i'w deml, iawn yw
I bob rhyw ei folianu.

Yr Arglwydd gynt yn Bennaeth oedd
  Ar y llif-ddyfroedd cethin:
Yr Arglwydd fu, ef etto sydd,
  Ac byth a fydd yn Frenhin.

## PSALM XXX.

Fy Nuw pan lefais arnaf ti,
  Y rhoddaist i mi iechyd:
Cedwaist fy enaid rhag y bedd,
  A rhag diwedd anhyfryd.

Cenwch i'r Ion, chwi ei holl saint,
  A maint yw gwyrthiau'r Arglwydd
A chlodforwch ef gar ei fron,
  Drwy gofion o'i sancteiddrwydd.

Ennyd fechan y sai'n ei ddig,
  O gael ei fodd trig bywyd;
Heno brydnhawn wylofain sydd,
  Y bore ddyd daw iechyd.

## PSALM XXXI.

Mi a 'mddiriedais ynot, Ner,
  Fel na'm gw'radwydder bythoedd;
Duw oth gyfiawnder gwared fi,
  A chlyw fy nghri hyd nefoedd.

Gogwydd dy glust attaf ar frys
  O th nefol lys i wared
A bydd i'm yn graig gadarnsiwr,
  Yn dy a thwr i'm gwared.

Sef fy nghraig wyt am castell cryf
  Wyf finnau hyf o'th fawredd

Er mwyn dy enw tywys fi,
  Ac arwain i drugaredd.

Dodaf fy yspryd yn dy law,
  Ac âf gerllaw i orwedd;
Da y gwaredaist fi yn fyw,
  (O Arglwydd Dduw'r gwirionedd.)

Cymmerwch gysur yn Nuw Iôn,
  Ef a rydd galon ynoch;
Ac os gobeithiwch ynddo ef,
  Ei law yn gref fydd drosoch.

## PSALM XXXII.

Y SAWL sy deilwng, gwyn ei fyd.
  Trwy fadde'i gyd ei drosedd;
Ac y cysgodwyd ei holl fai,
  A'i bechod, a'i anwiredd.

A'r dyn â gwynfyd Duw a'i llwydd,
  Ni chyfri'r Arglwydd iddo
Mo'i gamweddau: yr hwn ni cha'd
  Dim twyll dichellfrad ynddo.

Rhyw loches gadarn wyt i mi,
  Rhag ing y'm cedwi 'n ffyddlon;
Amgylchyni fyfi ar led
  A cherdd ymwared gyssou.

Chwithau 'r cyfion yn dirion ewch,
  A llawenhewch yn hylwydd;
A phob calon sydd union syth
  Clodforwch fyth yr Arglwydd.

## PSALM XXXIII.

CENWCH i'r Ion fawl a mawrhad,
  Wiw gerdd o ganiad newydd:

Cenwch iddo yn llafar glod ;
  Bid parod eich lleferydd.
Gair yr Arglwydd a wnaeth y nef,
  A'i yspryd ef y lluoedd:
Casglai efe ynghyd y môr,
  A'i drysor yw'r dyfnderoedd.

Yr holl ddaear ofned ein Duw,
  A phob dyn byw a'i preswyl:
Ei air a saif, a'i air a fydd ;
  A hynny sydd i'w ddisgwyl.

O'r nefoedd fry yr edrych Duw,
  Ar lwybrau pob rhyw ddynion ;
Ac o'i breswylfa edrych ar
  Y ddaear a'i thrigolion.

Ein henaid gan yr Arglwydd hael
  Sy'n dysgwyl cael ei bywyd :
Efe a byrth ein henaid gwan;
  Efe yw'n tarian hefyd.

## PSALM XXXIV.

Diolchaf fi, â chalon rwydd,
  I'r Arglwydd bob amserau:
Ei foliant ef, a'i wir fawrhad,
  Sy'n wastad yn fy ngenau.

Y sawl a edrych arno ef,
  A lleywrch nef eglurir:
Ni w'radwyddir o honynt neb,
  A'u hwyneb ni ch'wilyddir.

Wele, y truan a roes lef,
  A Duw o'r nef yn gwrando,
A'i gwaredodd ef o'i holl ddrwg,
  A'i waedd oedd amlwg iddo.

Angel ein Duw a dry yn gylch
O amgylch pawb a'i hofnant:
Ceidw ef hwynt; a llawer gwell
Na chastell yw eu gwarant.

O profwch, gwelwch, ddaed yw
Yr Arglwydd byw i'r eiddo:
A gwyn ei fyd pob dyn a gred,
Roi ei ymddiried ynddo.

## PSALM XXXV.

PLEIDIA (O Arglwydd) yn fy hawl
A'r sawl a dery 'n f' erbyn:
Lle 'r ymrysonant â myfi,
Ymwana di â'r gelyn.

Minnau a ganaf i ti glod,
Lle bo cyfarfod lluoedd:
Ac a folaf dy enw a'th ddawn,
Wrth lawer iawn o bobloedd.

Minnau fy Arglwydd, gyd â'r rhai'n
Myfyriaf arwain beunydd,
Dy gyfiawnder di, a'th fawr glod,
A'm tafod yn dragywydd.

## PSALM XXXVI.

O MOR werthfawr (fy Arglwydd Dduw)
I bawb yw dy drugaredd!
I blant dynion da iawn yw bod
Y'nghysgod dy adenydd.

O estyn etto i barhau
Dy drugareddau tirion:
Ni a'th adwaenom di a'th ddawn
I'r rhai sydd uniawn galon.

## PSALM XXXVII.

CRED yn yr Arglwydd, a gwna dda,
Gobeithia yr hyn gorau;
Bydd ymarhous yn y tir,
Ti a borthir yn ddiau.

Bydd di gysurus yn dy Dduw,
Ti gei bob gwiw ddymuniad;
Dy ffyrdd, cred iddo, yn ddilys
Fe rydd d' ewyllys attad.

Cred ynddo ef, fo'th ddwg i'r lan,
Myn allan dy gyfiawnder;
Mor olau a'r haul hanner dydd,
Fal hynny bydd d' eglurder.

Iechyd y cyfion sy o Dduw Ner,
A'i nerth mewn amser cyffro;
Cymmorth, ceidw, o ddrwg y tyn,
A hyn am gredu ynddo.

## PSALM XXXVIII.

O ARGLWYDD, na cherydda fi,
Ym mhoethni dy gynddaredd
Ac na chospa fi yn dy lid,
Oblegid fy anwiredd.

Clyw, Arglwydd, fi, 'herwydd o'th flaen
Yn hollol mae nymuniad;
Ni chuddiwyd mo'm hochenaid
Oddiwrthyt ti, fy Ngheidwad.

Gan im' gredu i ti yn rhwydd,
O Arglwydd Dduw Goruchaf;
Rhwydd a hyspys iawn gennyf fi.
Yw, y gwrandewi arnaf.

Duw, nac ymâd, na fydd ym mhell,
  Pan ddelo dichell ffyrnig;
Brysia, cymmerth fi yn y byd,
  Fy Nuw, a'm hiechyd unig.

## PSALM XXXIX.

O DANGOS im' (fy Arglwydd Nêr)
  Pa amser y diweddaf
Rifedi 'nyddiau: a pha hyd
  O fewn y byd y byddaf.

Rhoddaist fy nyddiau fel lled llaw;
  I'm heinioes daw byr ddiwedd:
Diau yn d'olwg di (O Dduw)
  Fod pob dŷn byw yn wagedd.

Pan gospech di am bechod wr,
  Fe wywa 'n siwr ei fawredd,
Fel y gwyfyn: gwelwch wrth hyn
  Nad yw pob dyn ond gwagedd.

O paid â mi, gâd i'm' gryfhau,
  Cyn darfod dyddiau 'mywyd:
O gwna â mi, sy 'mron fy medd,
  Drugaredd a syberwyd.

## PSALM XL.

BUM yn dyfal ddisgwyl fy Nêr.
  Ef o'r uchelder clybu;
Clust-ymwrandawodd ef fy llais,
  Pan lefais ar i fynu.

Dithau (O Dduw) rhagof na chel
  Dy dawel drugareddau:
Dy nawdd a'th wir gosod ar led,
  B'ont byth i'm gwared innau.

Fy nhafod fel y pin y sydd
  Yn llaw 'sgrifenydd parod.

Uwch meibion dynion teccach wyd,
  Tywalltwyd rhad i'th enau,
Herwydd i Dduw roi arnat wlith
  Ei fendith byth, a'i radau.

Clyw hyn, O ferch, a hefyd gwel,
  Ac â chlust isel gwrando;
Mae'n rhaid it' ollwng pawb o'th wlad,
  A thŷ dy dad yn ango'.

Coffâf dy enw di ym mhob oes,
  Tra caffwyf einioes imi;
Am hyn y bobloedd a rydd fawl
  Byth yn drag'wyddawl iti.

## PASLM XLVI.

Gobaith a nerth in' yw Duw hael;
  Mae help i'w gael mewn cyfwng:
Daear, mynydd, aent hwy i'r môr,
  Nid ofnaf f' angor deilwng.

Y wlad, O dowch i gyd yn rhwydd,
  A gwaith yr Arglwydd gwelwch,
Y modd y gosododd ef ar
  Y ddaear anniddanwch.

wna i ryfeloedd beidio'n wâr
  Hyd eitha'r ddaear lychlyd:
Dryllia y bwa, tyr y ffon,
  Llysg y cerbydon hefyd.

Y mae yr Arglwydd gyd â ni,
  Iôr anifeiri luoedd:
Y mae Duw Iago yn ein plaid,
  Gyrr help wrth raid o'r nefoedd.

## PSLM XLVII

Cenwch, a churwch ddwylaw'n ghyd,
Holl bobl y byd cyfannedd :
A llafar genwch i Dduw nef,
Gan leisio a llef gorfoledd.

O cenwch, cenwch, glod ein Duw ;
Ein Brenhin yw O cenwch :
Duw dros y byd sy Frenhin call ;
Drwy ddeall ymhyfrydwch.

Ymgasglant bendefigion byd,
Ynghyd â llu Duw Abra'm :
Duw bîau tariannau y tir,
Drwy foliant hir yn ddinam.

## PSALM XLVIII.

Mawr ei enw'n ninas ein Duw,
A hynod yw yr Arglwydd :
A'i drigfan ef yno y sydd,
Ym mynydd ei sancteiddrwydd.

Adwaenir Duw ym mhlasau hon
Yn gymmorth digon hynod :
Ac wele, nerth brenhinoedd byd
Doent yno i gyd-gyfarfod.

Ewch, ewch oddiamgylch Sion sail,
A'i thyrau adail rhifwch :
Ei chadarn fur, a'i phlasau draw,
I'r oes a ddaw mynegwch.

Can's ein Duw ni byth yw'r Duw hwn,
Hyd angau credwn ynddo ;
A hyd angau hwnnw a fydd
Yn dragywydd i'n t'wyso.

## PSALM XLIX.

GWRANDEWCH chwi y bobloedd i gyd,
Trigolion byd deallwch:
Gwerin, tlawd, bonheddig, a chryf,
Cyfoethog hyf, ystyriwch.
Gwelir mai'r bedd yw lletty'r doeth,
Y ffol a'r annoeth unwedd:
Marw yw'r naill, a marw yw'r llall,
I arall gâd ei annedd.
Angau yw terfyn pob dyn byw
I hwn nid yw ond tammaid;
Myned sydd raid o'r tu i'r bedd,
Yn rhwym un wedd a'r defaid.
Daw dydd i'r cyfiawn trannoeth teg,
Daw iddo 'chwaneg ystyn:
Daw iddo'r bedd godiad i fyw,
Deheulaw Duw a'i derbyn.

## PSALM L.

DUW y duwiau, yr Arglwydd cu,
Gan lefaru a alwodd:
O godiad haul hyd fachlud hwn,
Yr holl fyd crwn cyffrôodd.
Galw arnaf yn dy ddydd blin;
Yno cei fi'n Waredydd;
Yna y ceni i mi glod,
Am droi y rhod mor ddedwydd.
Yr hwn 'abertho i mi fawl,
Yw'r sawl a'm gogonedda:
I'r neb a drefno 'i ffordd yn wiw,
Gwir iechyd Duw a ddysga'.

## PSALM LI.

TRUGAREDD dod i mi,
Duw o'th ddaioni tyner:
Ymaith tyn fy anwiredd mau,
O'th drugareddau lawer.
Ag isop golch fi'n lân;
Ni byddaf aflan mwyach:
Byddaf fi, o'm golchi mal hyn,
Fel eira gwyn, neu wynnach:
Par i mi weled hedd,
Gorfoledd, a llawenydd,
I adnewyddu f' esgyrn i,
A ddrylliaist di â cherydd.
Duw, crea galon bur,
Dod i mi gyssur beunydd:
I fyw yn well tra fwy'n y byd,
Dod ynof yspryd newydd.
Bydd dda wrth Sion fryn,
O Arglwydd, hyn a fynni:
Ac wrth Gaersalem dy drefttâd,
A gwna adeil'ad arni.

## PSALM LII.

GWELWCH y gwr ni rodd ya ddwys
Ar Dduw na'i bwys na'i ogiud:
Ond ar ddrygioni yn rhoi nerth,
A rhif, a gwerth ei olud.
Dychymmyg drwg yw'r fyfyrdawd
A gwaith ei dafod 'sgeler:
Hwn sydd fel ellyn llym o ddur,
A'i swydd yw gwneuthur ffalsder.

Minnau, fel olewydden werdd,
Yn nhŷ Dduw cerdd a ganaf:
Ymddiriedaf iddo yn hawdd,
Byth dan ei nawdd y byddaf.

## PSALM LIII.

Edrychodd Duw i lawr o'r nef,
Ar ddynion ef a graffodd;
Oedd neb yn deall, oedd un yn byw
Yn ceisio Duw o'i wirfodd.

Ciliasai bawb yn ol ei gefn,
A hwy drachefn cyd lygrynt;
Nid oedd neb a wnelai yr iawn,
Nac un yn gyfiawn 'honynt.

## PSALM LIV.

Duw, yn d'enw cadw fi'n dda,
A barha i'th gadernid:
Duw clwy fy ngweddi, gwrando 'nghwyn,
A'm llef yn achwyn wrthid.

Rhof aberth it', o 'wyllys da,
A chlodfora' dy enw:
F Arglwydd, cymmwys ydyw hyn;
Sef ti wyt yn fy nghadw.

## PSALM LV.

O Dduw, gwrando fy ngweddi brudd,
Nac ymgudd rhag fy nghwynfan;
Erglyw a gwel fy ng wael ystâd,
A llais fy nâd a'm tuchan.

O dra ofn d'wedwn yn fy nghri,
Gwae fi am sgyll c'lommen;

Yna'r ehedwn i le rhydd,
  I gael im lonydd amgen.

O bwrw d'ofal ar dy Dduw,
  Os mynni fyw heb syrthio;
Duw a geidw y cyfion byth,
  A'r drwg fo'i chwyth i gwympo.

## PSALM LVI.

GORFOLEDDAF y'ngair fy Nuw
  Gair f' Arglwydd byw a folaf:
Yn Nuw y rhof ymddiried siwr;
  Beth a wnel gwr, nid ofnaf.

O Dduw, mae arnaf yn dd'led
  Lawer adduned ffyddlon;
A mi a'i talaf hwynt yn rhwydd
  I ti, fy Arglwydd cyfion.

## PSALM LVII.

DY ras, dy nawdd (fy Nuw) im' dod;
  Sef ynod ymddiriedaf;
Nes myned heibio'r aflwydd hyn,
  Dan d'edyn ymgysgodaf.

Ymddiried f'enaid ar Dduw sydd,
  Ar Dduw trwy ffydd y galwaf
An a gwblhaf ei air yn iawn,
  Sef cyfiawn yw'r Goruchaf.

Ymddyrcha, Dduw, y nef uwchlaw,
  Oddiyno daw d' arwyddion;
A bydded dy ogoniant ar
  Y ddaear a'i thrigolion.

## PSALM LVIII.

Y Rhai annuwiol aent ar gam
O groth eu mam newidient:
Ac ar gyfeiliorn myn'd o'r bru,
A chelwydd fu a draethent.
Todder hwynt fel dwfr ar y tir,
Felly dienir h wythau;
Os mewn bwa rhoist saeth gron,
Boed torri hon yn ddrylliau.
Yna dywaid dynion fod iawn
A ffrwyth i gyfiawn bobloedd;
A bod ein Duw yn Farnwr ar
Y ddaear a'i therfynoedd.

## PSALM LIX

Fy Nuw, gwareda fi rhag brad,
A rhag twyll fwriad gelyn:
Derbyn di drosof, rhag y rhai
A godai yn fy erbyn.
Wele, maent â thafodau rhydd;
Awch cledd a sydd i'w genau:
Pwy, meddant hwy, all glywed hyn,
Ac a wnai i'n herbyn ninnau?
Ond tydi, fy Arglwywydd a'm Duw,
A'u gwel, a'u clyw, a'u gwatwar:
Am ben eu gwaith y chwerddi di,
Y cenhedlaethi twyllgar.
Minnau a ganaf o'r nerth tau,
A'th nawdd yn forau molaf:
Nerth i'm a nawdd buost (O Ner)
Pan fu gorthrymder arnaf,

## PSALM LX

O Dduw, dydi a'n gwrthodaist,
Ar wasgar gyrraist ymaith:
O sorraist wrthym yn ddi-gel,
Tro attom, dychwel eilwaith.
O unig Dduw, bydd di 'ni'n borth,
Ofer yw cymmorth un-dyn:
Yn Nuw y gwnawn wrolaeth fawr,
Os sathra i lawr y gelyn.

## PSALM LXI.

Erglyw (O Dduw) fy llefain i,
Ac ar fy ngweddi gwrando:
Rhof lef o eitha'r ddaear gron,
A'm calon yn llesmeirio.
Dwg fi i dalgraig uwch na mi,
Ac iddi bydd i'm derbyn:
Can's Craig o obaith, Twr di-fost,
Im' fuost rhag y gelyn.
O fewn dy babell y bydd byth
Fy nhrigfan ddilyth ddedwydd:
A'm holl ymddiried a fyn fod
Y'nghysgod dy adenydd.

## PSALM LXII.

Fy unig Dduw ydyw fy mhlaid,
Mae f' enaid yn ei ddisgwyl:
O hono ef, a thrwy ei rym,
Daw iechyd i'm o'm hanhwyl.
Duw yw fy Nghraig, a'm hunig Nerth,
Ac Ymadferth fy einioes;
Ac am hyn, drwy 'mddiffyn hir,
Mi ni'm ysgogir eisoes.

Yn Nuw yn unig mae i gyd
  Fy iechyd a'm gogoniant ;
Fy nghraig yw, a'm Cadernid maith,
  A'm Gobaith yn ddilysiant.

Gobeithiwch ynddo, ger ei fron
  Tywelltwch galon berffaith ;
Ac ymddiriedwch tra f'och byw,
  A d'wedwch, Duw yw'n gobaith.

## PSALM LXIII.

Tydi, O Dduw, yw Duw mau,
  Mi geisia'n forau attat ;
  mae fy enaid yn dra sych,
  A'm cnawd mewn nych am danat.

Can's dy drugaredd (O Dduw byw)
  Llawer gwell yw na'r bywyd ,
A'm gwefusau y rhof it' fawl,
  A chredd ogonawl hyfryd.

Felly tra f'wyf fi fyw y gwnaf,
  Ac felly 'th folaf etto ;
Ac yn dy enw di, sydd gu,
  Y caf ddyrchafu 'nwylaw.

## PSALM LXIV.

O Arglwydd Dduw, erglyw fy llef,
  A chlyw o'r nef fi'n erfyn ;
O Duw, cadw fy einioes i
  Y sydd yn ofni'r gelyn.

A chuddia fi dros ennyd bach,
  Rhag cysrinach y rhai drwg ;
Ar hag terfysg y rhai sy'n gwau
  I wneuthur cammau amlwg.

Ond yn yr Arglwydd llawenha,
Ac y gobeithia'r cyfion;
A gorfoledda ynddo'n iawn
Pob dyn âg uniawn galon.

## PSALM LXV.

I Ti (O Dduw) y gweddai mawl
Yn y sancteiddiawl Sion;
I ti y telir trwy holl gred,
Bob gwir addunded calon.

Pawb sydd yn pwyso attat ti,
A wrendy weddi dostur;
Ac attat ti y daw pob cnawd,
Er mwyn gollyngdawd llafur.

Dy etholedig dedwydd yw,
Caiff nesnes fyw i'th babell;
Trig i'th gynteddau, ac i'th lys,
A'th sanctaidd weddus gangell.

## PSALM LXVI.

Yn Nuw ymlawenhewch i gyd,
Yr holl-fyd; a datgenwch
Ogoniant ei enw hyd y nef,
A'i foliant gref a draethwch.

O dowch, edrychwch ofnus yw
Gweithredoedd ein Duw cyfion;
Ofni ei weithredoedd a rydd ddysg
Ym mysg holl feibion dynion.

O bobloedd, molwch Dduw ar gais,
A moeswch lais ei foliant:
Hwn sy'n dal bywyd yn y gwaed,
A ddeil ein traed na lithrant.

PSALM LXVII.

TRUGAREDD Duw i'n plith,
A rhoed ei fendith drosom:
A thywynned ei wyneb-pryd,
A'i nawdd a'i iechyd arnom.

Fel y gwyper dy ffyrdd
Trwy'r ddaear gyd-wyrdd gnydoedd:
A'th iachawdwriaeth di (O Dduw)
Ym mysg pob rhyw genhedloedd.

Duw, moled pobloedd di,
Rhont fawl a bri trwy'r holl-fyd:
Yna rhydd y tir ffrwyth i'n plith,
A Duw ei fendith hefyd.

A Duw, sef Duw ein Tad,
A roddo 'i rad a thycciant:
A therfynau y ddaear gron,
A phawb ar hon a'i hofnant.

PSALM LXVIII.

BENDIGAID fyth fo'r Arglwydd mau,
Am ddoniau ei ddaioni:
A'i iachawdwriaeth i ni'n llwyth,
O bêr-ffrwyth ei haelioni.

Clodforwch Dduw, hynny sydd dda
Ym mhob cyn'lleidfa ddiwael:
A chlodforwch yr Arglwydd Ion,
Chwi sydd o ffynnon Israel.

Y pendifigion o'r Aipht draw
A ddaw, ac Ethiopia,
At Dduw yn brysur, i roi rhodd,
Ac aberth gwirfodd, yna.

Holl d'yrnasoedd y ddaear lawr,
I Dduw mawr cenwch foliant:

Cenwch, cenwch ei glod yn rhwydd,
Sef Arglwydd y gogoniant.

## PSALM LXIX.

Gwrando fi bellach, Arglwydd Dduw
Can's da yw dy drugaredd;
Yn amlder dy dosturi mawr,
Edrych i lawr rhag trawsedd.

O'm cyfyngder oddiwrth dy was
Na chudd mo ras dy wyneb:
'Rwyf yn gweddio yn fy ngloes;
Duw, brysia, moes i'm atteb.

Finnau, pan f'wyf ofidus wan,
A phan fwyf druan hefyd,
Dy iachawdwriaeth di (O Dduw)
Eilchwyl i fyw a'm cyfyd.

A phob truan, pan weler hyn,
A ennyn o lawenydd
A'ch calon chwi sy'n ceisio Duw,
Cyfyd i fyw o newydd.

## PASLM LXXI.

Y sawl a'th gais, calonnog fydd
O ara llawenydd ynod;
D'weded sawl a'th gâr bob amser,
Mawryger ein Duw hynod.

Minnau'n dlawd, ac yn druan sydd;
Duw, brysia, bydd yn agos;
Fy mhorth a'm ceidwad wyt yn wir,
O Arglwydd na hir aros.

## PSALM LXI.

Mi a ymddiriedais ynod Ner,
Na'm gwaradwydder bythoedd;

Duw, o'th gyfiawnder gwared fi,
A chlyw fy nghri hyd nefoedd.
Duw, bydd yn graig o nerth i mi
I gyrchu atti'n wastad;
A phar fy nghadw i yn well,
Ti yw fy nghastell caead.
Fy ngobaith innau a saif byth
Yn ddilyth a safadwy;
Ymddiried ynot (Dduw) a wnaf,
Ac a'th foliannaf fwy-fwy.

PSALM LXXII.

Duw, dod i'r Brenhin farn o'r nef,
Dod i'w Fab ef gyfiawneb;
Yna y rhydd rhwng pobl iawn frawd,
Ac i'r dyn tlawd uniondeb.
Llwydda efe o fôr hyd fôr,
O'r ffrwd hyd oror tir'edd;
Ei gâs ymgrymmant, llyfant lwch,
Hyd yr anialwch cyrredd.
Yr holl frenhinoedd doent yn llu,
A than ymgrymmu, atto;
A'r holl genhedloedd, fel yn gaeth,
A wnant wasanaeth iddo.
Bendigaid fo yr Arglwydd Dduw,
(Sef Duw yr Israel dirion;)
Efe yn unig byth sy'n parhau
I wneuthur gwyrthiau mawrion.

PSALM LXXIII.

Pa'm? pwy (O Dduw) sydd genyf fi,
Ond tydi yn y nefoedd?
Dim ni ddymunwn gyda thi,
Wrth weini daear leoedd.

Fy nghalon i, a'm nerth, a'm cnawd,
  Y sydd mewn palldawd beunydd;
Ond tydi, Dduw sydd ar fy rhan,
  A'm tarian yn dragywydd.

Ond mi ddof nes-nes at fy Nuw,
  Fy ngobaith yw i'm calon;
Y traethaf fi ei nerth a'i wyrth,
  O fewn dy byrth, merch Sion.

## PSALM LXXIV.

Dywaid di pa hyd (O Dduw Iôn)
  Y gwna d'elynion warthrudd?
A rydd dy gâs ei gabledd fri
  Arnat ti yn dragywydd?

Cyfod, dadleu dy ddadl, O Dduw,
  Dy enw yw'n dragywydd:
Coffa gabledd, yr hon trwy'r byd
  A gait gan ynfyd beunydd.

Duw, nac anghofia lais a son,
  D'elynion y cenhedloedd;
Eu sŵn, a'u rhodres, a'u dadwrdd,
  A ddring i gwrdd y nefoedd.

## PSALM LXXV.

Clodforwn di drag'wyddol Dduw,
  A'th enw yw yn agos;
Maint yw dy enw a'th nerth i'th hynt,
  Dy wyrthiau ŷnt i'w dangos.

O herwydd nid o'r dwyrain draw
  I ddyn y daw derchafiad:
Nid o'r gorllewin, na'r deau,
  Y daw i chwithau godiad.

Can's ar law Duw y mae y farn;
Na fid gwr cadarn rygry':
Gostwng heddyw y naill heb ball,
A chodi'r llall y fory.

## PSALM LXXVI.

O'TH waith, Duw Iago, a'th ammharch.
Cerbyd a'r march rhoi huno:
Ofnadwy wyt: pwy i'th lid ŵg
A saif i'th olwg effro?

I farnu pan gyfododd Duw,
I gadw yn fyw y gwirion;
A'r rhai oedd lonydd yn y tir,
Yr oeddyn' gywir galon.

Ef a ostyngodd uchel fryd,
Ac yspryd, gwyr rhyfelgar:
Fe a yrr ofn y'nghanol hedd
Ar holl frenhinoedd daear.

## PSALM LXXVII.

FY llais at Dduw, pan roddais lef,
Fy llais o'r nef fo'i clybu:
A'm llais gweddïais ar Dduw Ner,
Pan oedd blinder yn tarddu.

Cofiaf dy weithredoedd (f' Arglwydd)
A'th wyrthiau hylwydd cofiaf:
Am bob rhyfeddod, a phob gwaith,
A myfyr maith y traethaf.

O Dduw, pa dduw sydd fel tydi?
Dy ffordd di yw'n sancteiddiol:
Dy waith dengys dy nerth i'r byd;
Pair in' i gyd dy ganmol

## PSALM LXXVIII.

FY mhobl i gyd, gwrandewch fy nodd,
 A boed fy ngreddf i'ch calon:
Clust-ymostyngwch â'm genau,
 I ystyr geiriau ffyddlon.
Mewn diarhebion i barhau,
 Fy ngenau a egoraf:
A hen ddamhegion, oedd ar hyd
 Y cynfyd, a ddangosaf.
Fel y gwypid o oes i oes,
 Y rhoes ef ei dystiolaeth,
O dad i fab, o fab i ŵyr,
 I gadw llwyr wybodaeth.
Gobeithio'n Nuw, cofio ei waith,
 Y sydd mal rhaith eneidiol:
I gael cadw ei orchymyn,
 Rhoes Duw'r wers hyn yn rheidiol.

## PSALM LXXIX.

O Dduw ein hiechyd, cymmorth ni,
 Er mwyn dy fri gogonol;
A gwared, er mwyn dy enw tau,
 Ni rhag pechodau marwol.
Na chofia'n camwedd gynt i'n hoes;
 Duw, brysia, moes drugaredd:
Dy nodded a'n rhagflaena ni,
 Sy mewn trueni'n gorwedd.
Ninnau, dy bobl a'th ddefaid mân,
 A wnawn it' gân ogonawl:
O oes i oes byth i barhau
 Ac i'th fawrhau'n drag'wyddawl.

## PSALM LXXX.

CLWY di, Fugail i Israêl,
 Sy'n arwain fel y defaid,

Hil Iago, a llewyrcha di,
  A 'steddi ar gerubiaid.

Llewyrcha d' wyneb, dychwel ni,
  Duw, di a'n cedwi 'n gyflym:
Duw y lluoedd, clyw ein gweddi;
  Pa hyd y sorri wrthym?

A dadymchwel nyni i fyw,
  O Arglwydd Dduw y lluoedd:
Tywynna arnom d' wyneb pryd,
  Ni gawn iechyd bythoedd.

## PSALM LXXXI.

O Cenwch fawl i Dduw ein nerth,
  Cerdd brydferth cenwch iddo:
A llafar lais, a'genau ffraeth,
  Gerddwriaeth i Dduw Iago.

Caseion ein Duw, yn ei lid,
  A ostyngesid iddo:
Ac ef a roisai yn y tir,
  Ammodau hir i'r eiddo.

Ein Duw a roisai iddynt borth,
  Trwy frasder cymmorth rhadol;
Rhoi mel o'r graig, rhoi llaeth yn flith,
  A gwenith yn ddigonol.

## PSALM LXXXII.

Holl farnwyr byd mae Duw'n eu mysg,
  Pe cym'rent addysg gantho:
Duw yw ym mysg y duwiau mân,
  A'i farn sy lân heb wyro.

Gwrandewch chwi ar y gwan a'r gwael,
  A'r tlawd heb gael mo'i gyfraid,

(Pan ddel y rhéini ger eich bron)
O ddwylaw'r trawsion diriaid.

Duw, cyfod, a dyro farn ar
Y ddaear a'i theyrnasoedd:
Can's mawr yw d' etifeddiaeth; ti
A feddi'r holl genhedloedd.

## PSALM LXXXIII.

Na ostega, na 'thaw, na fydd
Di lonydd, Duw y lluoedd:
Wele, d' elynion yn cryfhau,
Gan godi 'pennau i'r nefoedd.

D'wedent, y mynnent yn eu byw
Gyssegrfa Duw i'w meddiant;
Fel troad rhod, neu wellt mewn gwynt,
Dyna yr hynt a gaffant.

Difether hwynt; gwyper dyn byw
Mai d'enw di yw Jehofa;
Ac mai ti unig Dduw sydd ar
Y ddaear yn Orucha'.

## PSALM LXXXIV.

Dy babell di mor hyfryd yw,
(O Arglwydd byw y lluoedd)
Mynych chwennychais weled hon,
Rhag mor dra-thirion ydoedd.

Mae f' enaid i fy lon mewn blys,
I'th gyssegr lys dueddu:
Fy nghalon i, a'm holl gnawd yw
Yn Nuw byw 'n gorfoleddu.

Gwyn ei fyd a drig yn dy dŷ,
Caiff dy foliannu ddigon:
Ac ynot ti sy'n cadarnhau,
A'th lwybrau yn eu calon.

Ant rhagddynt bawb o nerth i nerth,
Nes cael yn brydferth ddyfod
I 'mddangos i Dduw, ger ei fron,
Yn Sion ei breswylfod.

O Arglwydd Dduw y lluoedd mawr,
Anfon i lawr dy gymmod:
Dedwydd yw'r dyn a rotho 'i gred,
A'i holl ymddiried ynod.

## PSALM LXXXV.

Da wyt i'th dir, Jehofah Ner,
Dychwelaist gaethder Iago:
Maddeuaist drawsedd dy bobl di,
Mae 'u camwedd wedi 'guddio.

Tynnaist dy lid oddiarnom ni;
Troist dy ddiglloni awchlym:
O Dduw ein nerth, tro ninnau 'n well,
A'th lid bid bell oddi wrthym.

I'r rhai a ofnant Arglwydd nef,
Mae 'i iechyd ef yn agos:
Felly y caiff gogoniant hir.
O fewn ein tir ni aros.

## PSALM LXXXVI.

Trugarha wrthyf, Arglwydd mâd;
Can's arnad llefa'n ddibaid:
Einioes dy was, Duw, llawenha,
Can's attat coda f' enaid.

Y bobloedd oll a wnaethost, lôn
O'th flaen don' ac addolant,
A pha le bynnag a'r a bont,
I'th enw rhoont ogoniant.

Dysg i mi dy ffordd, O Arglwydd, nef,
Yn rhwydd dy wirionedd;

Gwna fy nghalon yn un â thi,
Ac ofnaf fi dy Fawredd.

PSALM LXXXVII.

O ddinas Duw, preswylfa'r Iôn,
Mawr ydyw'r sòn am danad;
A gogoneddus air it' sydd
Uwch trigfennydd yr holl-wlad.

Ond d'wedir hyn am Sion bêr,
Fe anwyd llawer ynddi,
Nid ambell un; can's swccwr da,
Yw Duw Gorucha' iddi.

PSALM LXXXVIII.

O Dduw fy iechyd, nos a dydd,
Mae 'ngweddi 'n ufudd arnad
Gostwng dy glust, O Arglwydd nef,
A doed fy llef hyd attad.

Can's mae fy enaid mewn dull caeth,
A'm heinioes aeth i'r beddrod:
Fel gwr marw y rhifwyd fi,
A'm nerth oedd wedi darfod.

Truan y'mron marwolaeth wyf,
Mewn trwmglwyf o'm hieuengctid;
A'th ofni bum yn nych-beth gwael.
Gan ammau cael mo'r iechyd.

PSALM LXXXIX.

Myfyriaf gerdd, byth i barhau,
O drugareddau'r Arglwydd;
A'i wirionedd i'm genau fydd,
Hyd dragywydd yn ebrwydd.

Pwy sydd debyg i ti, Dduw byw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd!

Yn gadarn Ior, a'th wir i'th gylch,
 O amgylch yr holl nefoedd.
Eu gwynfyd i'r holl bobl a fydd,
 A fo 'u llawenydd ynod ;
Ac yn llewyrch dy wyneb glân,
 Y rhodian' i gyfarfod.
Yn d' unig enw di y cant,
 Fawl a gogoniant beunydd :
Yn dy gyfiawnder codi 'wnant,
 Ac felly byddant ddedwydd.

## PSALM XC.

Duw, buost in' yn Arglwydd da,
 Ac yn breswylfa i drigo :
O bryd i bryd, felly yr aeth
 Pob rhyw genhedlaeth heibio.
Er cyn rhoi sail un mynydd mawr,
 Cyn'llunio llawr cwmpas-fyd,
Duw, o drag'wyddol wyt cyn neb,
 Hyd drag'wyddoldeb hefyd.
Nid yw dyn ond fel hun, neu ail,
 I addail, neu lifeiriant ;
Neu megis glas lysieuyn gwan,
 Yn fuan y newidiant.
Yr hwn y bore gwyrdd-las fydd,
 A gwawr o newydd arno :
Ond pan y torrer ef brydnhawn,
 Yn fuan iawn mae'n gwywo.
Arnom ni doed rhad Duw, a'i nerth,
 Ei allu prydferth weithiaw :
Duw, dod ein gwaith mewn trefnid dda ;
 Duw, trefna waith ein dwylaw.

## PSALM XCI.

Y Sawl a drigo, doed yn nes,
Yn lloches 'y Goruchaf:
Ef a ymerys i gael bod,
Y'nghysgod hwn sydd bennaf.
Fy holl ymddiffyn wyt, a'm llwydd,
Wrth fy Arglwydd y d'wedaf:
A'm holl ymddiried, tra fwy fyw,
Sydd yn fy Nuw Goruchaf.

## PSALM XCII.

Moliannu'r Arglwydd da iawn yw,
A chyfarch Duw yn bennaf:
A chanu i'th enw di fawl,
A'th ganmawl, y Goruchaf.
Y rhai a blanwyd yn nhŷ Dduw,
Yn goedwydd byw y tyfant;
Ac y'nghynteddau ein Duw ni,
Y rheini a flodeuant.
A dwyn eu ffrwyth a wnant o faint,
Yn amser henaint etto:
Tirfion, iraidd, a phrofadwy,
A fyddant hwy yn hilio.

## PSALM XCIII.

Teyrnasu y mae yr Arglwydd,
Mewn ardderchowgrwydd gwisgodd:
Ymwisgodd f' Arglwydd yn bridferth,
A nerth yr ymwregysodd
Fe a sicrhaodd sail y byd,
Heb syflyd yn ddihareb:
Dy faingc erioed a ddarparwyd;
Ti wyd er trag'wyddoldeb.
Dy dystiolaethau ynt siwr iawn,
Sef cyfiawn yw sancteiddrwydd;

A gweddus yn dy dŷ di fydd
Byth yn dragywydd, f' Arglwydd.

## PSALM XCIV.

YM mysg y bobloedd difraw dôn,
Ystyriwch ddynion anghall:
Chwithau ynfydion, O pa bryd
Y rho'wch eich bryd ar ddeall?

Hwn a wnaeth y glust i bob byw,
Oni chlyw ef yn amlwg?
Ac oni wel hwnnw yn hawdd,
A luniawdd i ni olwg?

Gŵyr yr Arglwydd feddyliau dyn,
Mai gwagedd ydyn', diffaith;
Duw, dedwydd yw a gospech di,
A'i fforddi yn dy gyfraith.

## PSALM XCV.

O DOWCH, a chanwn i'r Arglwydd,
Efe yw llwydd ein bywyd:
Ac ymlawenhawn yn ei nerth,
Ef yw ein prydferth iechyd.

O down yn unfryd ger ei fron,
A chalon bur ddiolchgar:
Brysiwn at Dduw, dan lawenhau,
A chanwn psalmau'n llafar.

Can's ef i ni y sydd Dduw da,
A phobl ei borfa ydym;
A'i ddefaid y'm, os chwi a glyw
Ei air ef heddyw'n gyflym.

## PSALM XCVI.

O CENWCH glôd i'r Arglwydd mad,
A moeswch ganiad newydd;

Yr holl ddaear datgenwch fawl
  Yr Arglwydd nefawl beunydd.

Cenwch chwi glod i'r Arglwydd nef,
  A'i enw ef bendigwch,
A'i iachawdwriaeth trwy grefydd,
  O ddydd i ddydd cyhoeddwch.

Addolwch f' Arglwydd ger ei fron,
  I'w gyssegr digon gweddol:
A'r ddaear rhagddo, hyd a lled,
  Dychryned yn aruthrol.

Can's ein Harglwydd ni sy Dduw mawr,
  A rhagawr canmoladwy:
Uwch yr holl dduwiau y mae ef
  Yn Frenin nef ofnadwy.

## PSALM XCVII.

Yr Arglwydd ydyw ein pen rhaith,
  Bo perffaith y ddaearen:
Ynysoedd cedyrn yr holl fyd,
  Bont hwy i gyd yn llawen.

Pob drygioni chwi a gasewch,
  Caru a wnewch yr Arglwydd:
Hwn sydd yn cadw oes ei saint,
  I'w dwyn o ddrygfaint afrwydd.

Mewn daear yr egina 'i hâd,
  Goleuad daw i'r cyfion:
Ar ol tristwch, fo dry y rhod,
  I lân gydwybod union.

## PSALM XCVIII.

Cenwch i'r Arglwydd newydd gân;
  Ei waith fu lan ryfeddol:
Ei law ddehau, a'i fraich a wnaeth
  In' iachawdwriaeth parod.

Yr Arglwydd hyspys in'y gwnaeth,
Ei iachawdwriaeth gyhoedd:
A'i gyflawnder ef yn dra hawdd,
Datguddiawdd i'r cenhedloedd.

Fe gofiodd ei drugaredd hir,
A'i wir, i dŷ Israel:
Fel y gwelodd terfynau'r byd
Ei iechyd yn ddiymgel.

I'r Arglwydd â chaniad llafar,
Chwi, yr holl ddaear, cenwch:
A llefar lais, ac eglur lef,
Fry hyd y nef y lleisiwch.

## PSALM XCIX.

Yr Arglwydd Dduw yw ein Brenhin,
Er maint yw trin y bobloedd:
Mae'n eistedd rhwng dau gerubyn,
Fe gryn pob daear-leoedd.

Canys Brenin mawr ydyw'r Iôn
Yn Sion, o'i ddyrchafel:
Ac uwchlaw pobloedd yr holl fyd,
Y sydd o ryddyd uchel.

Dyrchefwch yr Arglwydd ein Duw.
Sef sanctaidd yw i'w fawredd;
Ymgrymmwch o flaen ei 'stol-draed:
Fell parhaed ei fawledd.

## PSALM C.

I'r Arglwydd cenwch lafar glod,
A gwnewch ufudd-dod llawen fryd:
Dowch o flaen Duw a pheraidd dôn,
Trigolion y ddaear i gyd.
Gwybyddwch mai'r Arglwydd sy Dduw,
A'n gwnaeth ni'n fyw fel hyn i fod,

Nid ni'n hunain ; ei bobl y'm ni,
A defaid rhi' ei borfa a'i nod.

O ewch i'w byrth â diolch brau:
Yn ei gynteddau molwch ef:
Bendithiwch enw Duw hynod,
Rhowch iddo glod trwy lafar lef.

Can's da yw'r Arglwydd, Awdur hedd,
Da ei drugaredd, a dilyth ;
A'i wirionedd i ni a roes,
O oes i oes a bery byth.

## PSALM CI.

DATGANAF drugaredd a barn,
I'r Arglwydd cadarn canaf:
Byddaf ddeallus mewn ffordd wych,
Hyd oni ddelych attaf.

A rhodiaf yn fy nhŷ yn rhwydd,
A thrwy berffeithrwydd calon:
Pob peth drwg sydd gennyf yn gas,
A childyn ddiras ddynion.

Holl annuwiolion fy ngwlad faith,
Yn fore ymaith torraf:
Fel na ddelont i ddinas Dduw,
Y cyfryw a ddiwreiddiaf.

## PSALM CII.

PAN adeilader Sion wych,
A hon yn ddrych i'r gwledydd ;
Pan weler gwaith yr Arglwydd ne',
Y molir e'n dragywydd.

Hyn fydd pan gasglo pawb ynghyd
Yn unfryd i'w foliannu;
A'r holl deyrnasoedd dônt y'ngwydd
Yr Arglwydd, i'w wasanaethu,

Yno yr holl genhedloedd byw,
  Yr Arglwydd Dduw a ofnant;
A'r holl frenhinoedd trwy y byd,
  A ro'nt it' gyd ogoniant.

Fel y cyd-leisiant hwy ar gân,
  Yn Sion lân ei foliant;
Ac y'Nghaersalem yr un wedd,
  Ei fawredd a'i ogoniant.

O cyfod bellach, trugarha,
  O Dduw, bydd dda wrth Sion
Mae'n fadws iddi drugarhau,
  Fel dyma'r nodau'n union.

## PSALM CIII.

Fy enaid, mawl Sanct Duw yr Iôn,
  A chwbl o'm heigion ynof;
Fy enaid, na'd fawl f' Arglwydd nef,
  Na'i ddoniau ef yn angof.

Yr hwn sy'n maddeu dy holl ddrwg,
  Yr hwn a'th ddrwg o'th lesgedd;
Yr hwn a weryd d' oes yn llon,
  Drwy goron o'i drugaredd.

Ac fel y bydd nawdd, serch, a chwant
  Tad da i'w blant naturiol;
Felly cawn serch ein Tad o'r nef,
  Os ofnwn ef yn dduwiol.

### RHAN II.

Cyhyd ag yw'r ffurfafen fawr,
  Oddi wrth y llawr o uchder;
Gymmaint, i'r rhai a'i hofnant ef,
  Fydd nawdd Duw nef bob amser,

Efe a'n hedwyn ni yn llwyr;
  Fe ŵyr mai llwch yw'n defnydd;

Oes dyn fel gwellt-glas sy'n teccau,
Neu ddail, neu flodau meusydd.

Yr hwn, cyn gynted ag y dêl,
Y gwynt â'i awel drosodd,
A chwythir ymaith felly o'i le,
Na wyddis p'le y tyfodd.

Ond graslawn drugaredd a fydd
Yn lân dragywydd feddiant,
O oes i oes, heb drangc heb drai,
Gan Dduw i'r rhai a'i hofnant.

## PSALM CIV.

O Dduw, mor rhyfedd yw dy waith,
O'th synwyr berffaith dra-doeth!
Gwnaethost bob peth â doethder dawn,
A'r tir sy lawn o'th gyfoeth.

Yr Arglwydd gogoneddus fydd,
Trwy fawr lawenydd, bythoedd;
Yr Arglwydd yn ddiau a fedd
Orfoledd yn y nefoedd.

Canaf i'r Arglwydd yn fy myw,
Canaf i'm Duw tra fyddwyf:
Mi a lawenhaf yn fy Ion;
Bydd ffyddlon hyn a wnelwyf.

## PSALM CV.

Clodfored pawb yr Arglwydd nef,
Ar ei enw ef y gelwch;
A'i weithredoedd ym mysg pobloedd,
Yn gyhoedd a fynegwch.

Ceisiwch yr Arglwydd, a'i nerth mawr,
A'i fodd bob awr yn rhadlon:
Cofiwch ei holl ryfeddodau,
A barn ei enau cyfion.

Cofio a wnaeth ei air a'i ras
I Abr'am ei was ffyddlon;
A thrwy fawr nerth, yn rhydd o gaeth
Y gwnaeth ei ddewisolion.

## PSALM CVI.

MOLWCH yr Arglwydd, can's da yw,
Moliennwch Dduw y Llywydd;
Oblegid ei drugaredd fry.
A bery yn dragywydd.

'R Arglwydd pwy all draethu ei nerth,
A'i holl dirion-ferth foliant?
A wnel gyfiawnder, gwyn eu byd,
Ei farn i gyd a gadwant.

Mynych waredodd Duw ei blant,
Hwy a'i digiasant yntau
A'u cwrs eu hun: daeth cystudd hir
Am waith eu henwir feiau.

Pan welai arnyn' ing na thrais,
Fo glywai lais eu gweddi;
Gan gofio'i air, rhoi nawdd a wnaeth,
O'i helaeth fawr ddaioni.

O Arglwydd cofia fi, dy was,
Yn ol dy ras i'r eiddod;
Ymwel â mi, i'm cystudd caeth.
A'th iachawdwriaeth barod.

## PSALM CVII.

MOLWCH yr Arglwydd, can's da yw,
Moliennwch Dduw ein Llywydd;
Oblegid ei drugaredd fry
A bery yn dragywydd.

Y gwaredigion canent fawl
I Dduw, gerdd nodawl gyssen;

Y sawl 'achubwyd, caned hyn,
O law y gelyn creulon.

Addefant hwythau ger ei fron,
Ei fwynion drugareddau;
Ac er plant dynion fel y gwnaeth,
Yn helaeth ryfeddodau.

Aberthant hefyd aberth mawl,
I'w ogoneddawl fawredd;
A mynegant ei waith a'i wyrth,
Yn ei byrth mewn gorfoledd.

Holl gynnulleidfa ei bobl ef,
Clod Duw hyd nef dyrchafant;
Holl eisteddf'ydd pennaethiaid hên,
Yn llawen a'i moliannant.

## PSALM CVIII.

MAWL iti, f' Arglwydd, pan ddeffrôf,
A rof ym mysg y bobloedd;
A chlodfori dy enw a wnaf,
Lle amlaf y cenhedloedd.

Can's cyrhaeddyd y mae dy ras,
Hyd yn nheyrnas y nefoedd;
A'th wirionedd di hyd at len
Yr wybren, a'i therfynoedd.

Ymddercha, Dduw, y nef uwchlaw,
Oddiyno daw d'arwyddion;
A bydded dy ogoniant ar
Y ddaear a'i thrigolion.

O unig Dduw, bydd in' yn borth,
Mae'n ofer cymmorth undyn;
Yn Nuw y gwnawn wrolaeth fawr,
Fe sathr i lawr ein gelyn.

## PSALM CIX.

CYMMORTH di fi, Arglwydd fy Nuw,
Cadw fi'n fyw â'th nodded;
Fel y gwyper mai gwaith dy law
Yw'r lles a ddaw i'm gwared.

Ond fi, gan ddiolch i'm Iôr mau,
A'm genau mawl a ganaf:
Ac a rof glod i'w enw cu,
Lle byddo'r llu yn amlaf.

O herwydd ar ddeheulaw'r tlawd,
Y saif ddydd brawd yn gefnog,
I gadw ei enaid ef yn gu,
Rhag ei farnu yn euog.

## PSALM CX.

D'WEDAI'R Arglwydd wrth f' Arglwydd mau,
Ar fy llaw ddehau eistedd,
Nes roddi'r rhai a gais dy waed,
Yn fainge draed it', i orwedd.

'R Arglwydd denfyn ffrewyll dy nerth
O ddinas fawr-werth Sion:
Pan lywodraethech yn eu mysg,
Gwna derfysg ar d'elynion.

Yn nydd dy nerth dy bobl a ddaw,
Ag aberth llaw'n 'wyllysgar;
Yn sanctaidd hardd daw'r cynnyrch tau,
O wlith y borau hawddgar.

## PSALM CXI.

CLODFORAF fi yr Arglwydd Iôn,
O 'wyllys calon hollol,
Mewn cynnulleidfa ger eu bron,
Mewn tyrfa calon rasol.

Mawr iawn yw gwyrthiau'n Harglwydd ni,
Hyspys i bawb a'i hoffant:
Ei waith a'i iawnder pery byth,
A'i wehelyth ogoniant.

Yr Arglwydd a wnaeth ei goffa,
Am ryfeddodau nerthol;
Can's Arglwydd noddfawr yw i ni,
Llawn o dosturi grasol.

Ef i bob rhai a'i hofnant ef,
Rhydd gyfran gref at fywyd;
Ac yn dragywydd y myn fod
Cof o'i gyfammod hefyd.

## PSALM CXII.

DEDWYDDOL yw, mewn buchedd dda,
Y sawl a ofna'r Arglwydd;
A'i orchymmynion anwyl y'nt;
Bydd iddo helynt hylwydd.

Ei hâd fydd nerthol yn y tir,
Bendithir hil rai union:
Golud a chyfoeth yn ei dŷ,
Dros byth, y pery'n gyfion.

Hwn yn nerth Duw diofnog fydd,
Ac atteg sydd i'w galon:
Hyd oni chaffo, trwy lawn wŷs,
Ei 'wyllys o'r elynion.'

## PSALM CXIII.

CHWI weision Duw, molwch yr Iôn,
Molwch ei enw â llafar dôn;
Bendigaid fyddo ei enw ef:
O godiad haul hyd fachlud dydd,
Mawr enw yr Iôn, molianus fydd,
Yn y byd hwn, ac yn y nef.

Dyrchafodd Duw uwch yr holl fyd,
A'i foliant aeth uwch nef i gyd;
  Pwy sydd gyffelyb i'n Duw ni?
Yr hwn a breswyl yn y nef,
I'r ddaear hon darostwng ef,
  Gwel ef ein cam, clyw ef ein cri.

Yr hwn sy'n codi 'r tlawd o'r llwch,
A'r rheidus o'i ddiystyrwch,
  I'w gosod uwch penaethiaid byd:
I'r ammhlantadwy mae'n rhoi plant,
Hîl têg, a thylwyth, a llwyddiant;
  Am hyn moliànnwch Dduw i gyd.

## PSALM CXIV.

PAN ddaeth Israel o'r Aipht faith,
  A thŷ Iago o estron iaith,
  Juda oedd ei sancteiddrwydd ef;
Israel oedd bennaethiaith Iôr;
Gwelodd hyn, a chiliodd y mor,
  A throes i'w hol Iorddonen gref.

Neidiai'r mynyddoedd megis hyrdd,
A'i bryniau fel ŵyn llamment ffyrdd;
  Cawsant wastad megis llawr dôl.
Ciliaist, O fôr, dywaid pabam?
Tithau, Iorddonen llathraidd lam,
  Pa'm y dadredaist dithau'n d'ol?

Chwychwi fynyddoedd, pa'm y ffoech,
Fel hyrddod? a pha'm nad arhoech?
  A chwithau, fryniau, fel ŵyn mân?
Am mai rhaid ofni Duw Iago,
Yr hwn sy'n troi'r graig yn llyn tro,
  A'r callestr yn ffynnon ddwfr glan.

## PSALM CXV.

NID i ni, Arglwydd, nid i ni,
  Y dodi y gogonedd;
Ond i th enw dy hun yn hawdd,
  Er mwyn dy nawdd a'th wiredd.
O Israel, dod ti yn rhwydd
  Ar yr Arglwydd dy holl-fryd;
Ef yw eu nerth a'u dwg i'r lann,
  Eu porth a'u tarian hefyd.
'Sawl a'i hefnant, bendithiant ef;
  Yr Arglwydd nef canmolan':
A'i enw sanct, o'r nef i r llawr,
  Bendithied mawr a bychan,

## PSALM CXVI.

DA gennyf wrando 'r Arglwydd nef
  Ar lais fy llef a'm gweddi;
Am iddo fy nghlywed i'n hawdd,
  Byth archaf ei nawdd imi.
Cyfion yw'r lôn, trugarog iawn;
  Ein Duw sy lawn o nodded:
Duw a geidw'r gwirion; bum
  Mewn cyni, daeth i'm gwared.
O herwydd i Dduw wared f' oes,
  A'm cadw rhag gloes aogau,
Fy nhraed rhag llithro i lam drwg,
  A'm golwg i rhag dagrau;
I'r Arglwydd bellach tala'n frau,
  Fy addunedau cyfion,
Y'Nghaersalem dy sanctaidd dŷ,
  O flaen dy deulu ffyddlon.

## PSALM CXVII.

OENWCH fawl i'r Arglwydd nef,
  Molienwch ef genhedloedd;

Molwch ei enw ef trwy'r byd,
  Chwithau i gyd y bobloedd.
Am ei fod ini yn dda iawn,
  Yr Arglwydd llawn trugaredd
A'i air ef sydd yn parhau byth,
  Sef ei ddilyth wirionedd.

## PSALM CXVIII.

MOLWCH yr Arglwydd, can's da yw
  Moliannu Duw y Llywydd;
O herwydd ei drugareddau
  Sydd yn parhau'n dragywydd.
Y rhai a'i hofnant ef yn lân,
  A ganan' yr un cywydd;
Rhon' i'w drugaredd yr un clod,
  Sef ei bod yn dragywydd.
Deheulaw'r Arglwydd, trwy ei nawdd,
  Ef a'i dyrchafawdd arnom;
A deheu-law yr Arglwydd Nêr,
  A wnaeth rymmusder drosom.
Y maen sy ben congl-faen i ni,
  A ddarfu 'r seiri wrthod:
O'r Arglwydd Dduw y tyfodd hyn,
  Sy gan ddyn yn rhyfeddod.
Molwch yr Arglwydd, can's da yw
  Moliannu Duw y Llywydd;
O herwydd ei drugaredd fry,
  A bery yn dragywydd.

## PSALM CXIX.

POB cyfryw ddyn y sydd â'i daith,
  Yn berffaith, mae fe'n ddedwydd;
Y rhai'n fucheddol a rhodian'
  Y'nghyfraith lân yr Arglwydd.

Y rhai i gyd gwyn fyd a gânt,
A gadwant ei orchy'mynion;
Ac a'i ceisiant hwy'n ddilys
A holl ewyllys calon.

Och fi na chawn unioni'n glau,
Fy llwybrau at dy ddeddfod:
Byth ni'm g'wradwyddyd y modd hwn,
Tra cadwn dy gyfammod.

RHAN II.

PA fodd, O Dduw, y ceidw llange,
Sydd ieuangc, ei holl lwybrau?
Wrth ymgadw'n ol dy air,
Pob llwybr a gâir yn olau.

I'm calon cuddiais dy air cu,
Rhag i mi bechu'n d' erbyn:
O Arglwydd, bendigaid wyt ti;
O dysg i mi d' orch'mynion.

Dy ddeddf fy myfyr yw, a'm drych,
Dy ffyrdd 'rwy'n edrych arnyn'
Mor ddigrif i mi yw dy air,
O'm côf nis cair un gronyn.

RHAN III.

BYDD dda i'th was, a byw a wna,
A'th air a gadwa'n berffaith:
A'm llygaid egor di ar led,
I weled rhin dy gyfraith.

F' enaid ym mron llwch y bedd yw,
O'th air gwna fi 'n fyw eilwaith;
Mynegais fy ffyrdd, clywaist fi,
O dysg i mi dy gyfraith.

O'th nawdd, oddiwrthyf tyn ffyrdd gau,
A dysg im' ddeddfau crefydd:

Dewisais ffordd gwirionedd; hon
Sydd ger fy mron i beunydd.

RHAN IV.

Duw, ffordd dy ddeddfau dysg i mi,
Dros f'einioes hi a gadwaf;
O par im' ddeall y ddeddf hon,
O'm calon mi a'i cyflawnaf.

Cofia i'th was dy air a'th raith,
Lle rhois fy ngobaith arno;
Yn d' air mae 'nghysur, lòr, i gyd,
Yr hwn mae 'mywyd ynddo.

Arglwydd, gwnaethost yn dda â'th was,
Yn ol dy ras yn addo:
Dysg im' ddeall dy air yn iawn,
'Rwyn credu 'n gyflawn ynddo.

RHAN V.

Mor gu, O Arglwydd, gennyf fi
Dy ddeddf di a'th gyfammod;
Ac ar y rhai'n. o ddydd i ddydd,
Y bydd fy holl fyfyrdod.

Gwnaethost fi, â'th orch'mynion iach,
Yn ddoethach na'm gelynion;
Can's gyd â mi yn dragywydd,
Y bydd dy holl orch'mynion.

Rhag dy farnau ni chilias i;
Can's ti a'm dysgaist yddynt:
Mor beraidd gennyf d' eiriau iach,
Na'r mêl melusach ydynt.

RHAN VI.

Dy air i'm traed i, llusern yw,
A llewyrch gwiw i'm llwybrau:

Tyngais, a chyflawni wnaf,
Y cadwaf dy lan ddeddfau.

Cym'rais yn etifeddiaeth lân,
Byth weithian dy orch'mynion:
O herwydd mai hwynt-hwy y sydd
Lawenydd mawr i'm calon.

Llewyrcha d'wyneb ar dy was,
Dysg i mi flas dy ddeddfau:
Dagrau o'm golwg llifo 'wnaent,
Na's cadwant dy gyfreithiau.

O cynnal fi, fy Arglwydd Naf,
A byddaf iach drag'wyddol;
Ac yn dy ddeddfau iach y bydd
Fy llawenydd gwastadol.

RHAN VII.

CYFIAWN ydwyt, O Arglwydd Dduw,
Ac uniawn yw dy farnau;
Dy dystolaethau, yr un wedd,
Y'nt mewn gwirionedd hwythau.

Ffordd iachawdwriaeth sydd bell iawn
Oddiwrth anghyfiawn dynion:
Am nad ydynt yn ceisio'n glau
Mo llwybr dy ddeddfau union.

Dy fawl a draetha 'ngenau'n wych,
Pan ddysgych im' dy ddeddfau:
Datgan fy nhafod d'air yn rhydd,
Herwydd dy gyfiawn eiriau.

PSALM CXX.

MEWN ing y gelwais ar f'Arglwydd,
Ac ef yn rhydd a'm clybu:
Duw, gwared fi rhag tafod gau,
A genau yn bradychu.

Gwae fi, aros 'honof yn hech
  Ychydig â Mesech dwyllgar;
A chyfanneddu a'm gwersyll
  Yn nhrawsion bebyll Cedar.

## PSALM CXXI.

DISGWYLIAF o'r mynyddoedd draw,
  Lle daw im' help 'wyllysgar;
Yr Arglwydd rydd im' gymmorth gref,
  'R hwn a wnaeth nef a daear.

Dy droed i lithro ef ni's gâd,
  A'th Geidwad fydd heb huno:
Wele, Ceidwad Israel lân,
  Heb hun na hepian arno.

Ar dy law ddehau mae dy Dduw,
  Yr Arglwydd yw dy Geidwad:
Dy lygru ni chaiff haul y dydd,
  A'r nos nid rhŷdd i'r lleuad.

Yr Iôn a'th geidw rhag pob drwg,
  A rhag pob cilwg anfad:
Cai fyn'd a dyfod byth yn rhwydd,
  Yr Arglwydd fydd dy Geidwad.

## PSALM CXXII.

I DY 'r Arglwydd pan dd'wedent, Awn,
  I'm llawen iawn oedd gwrando;
Sai'n traed o fewn Caersalem byrth,
  Yr un ni syrth oddiyno.

Caersalem lân ein dinas ni,
  Ei sail sydd ynddi'hunan;
A'i phobl sydd ynddi yn gyttun,
  A Duw ei hun a'i drigfan.

Can's yno y daw y llwythau 'nghyd,
  Yn unfryd, llwythau'r Arglwydd;

Tystiolaeth Israel a'i drig-fod,
A chlod i'w fawr sancteiddrwydd.

O fewn dy gaerau heddwch boed,
I'th lysoedd doed yr hawddfyd;
Er mwyn fy mrodyr mae'r arch hon,
A'm cymmydogion hefyd.

## PSALM CXXIII.

TUEDDA 'ngolwg at y ne',
Fy Nuw, dy le trigiannol;
Fel y try gweision eu llygaid
At ddwylo 'u meistriaid bydol.

Llygaid llaw-forwyn, ar bob tro,
A ddilyn ddwylo 'i meistres;
Disgwyliwn arnat, Dduw, 'r un wedd
Am dy drugaredd gynnes.

## PSALM CXXIV.

DYMA'R amser, yn ddiymgel,
Gall Israel fynegi:
Yr Arglwydd nef oni bai fod,
A'i arfod gyd â nyni.

Y dyfroedd a'n boddasent ni,
A'n hoes dan gefnlli' buan;
Chwyddasent drosom, fel chŵydd dw'r;
Fel dyma gyflwr truan.

Ein holl gynnorthwy ni a'n llwydd,
Sy'n nerth yr Arglwydd hawddgar;
Yr hwn trwy waith ei ddwylaw ef,
A greawdd nef a daear.

## PSALM CXXV.

SAWL a'mddiriedant yn Nuw Iôn,
Byddant fel Sion fynydd,

Yr hwn ni syfl : a'i sylwedd fry
A bery yn dragywydd.

Fel y saif sail Caersalem fry,
A'i chylchu mae mynyddoedd,
Felly yr Arglwydd yn gaer sydd
Dragywydd cylch ei bobloedd.

O Arglwydd Dduw, yn brysur gwna
I bob dyn da ddaioni ;
Sef union attat ti yn glau
Y bydd calonnau'r rheini.

## PSALM CXXVI.

PAN ddychwelodd ein gwir Dduw Ion
Gaethiwed Sion sanctaidd ;
Mor hyfryd gennym hyn bob un,
A rhai mewn hûn nefolaidd.

Y rhai sy'n hau mewn dagrau blin,
Hwynt-hwy dan chwerthin medant :
Felly, f' Arglwydd, dan droi y byd,
Dwg ni i gyd i'r meddiant.

## PSALM CXXVII.

Y TY ni adeilado 'r Ner,
Ai'n ofer gwaith y seiri ;
A'i ddinas hon ni's ceidw fo,
Ni thyccia gwylio ynddi.

Os bore godi, os hûn hwyr,
A byw trwy lwyr ofidio ;
Ofer i gyd ; Duw a rydd hûn
I bob rhyw un a'i caro.

## PSALM CXXVIII.

AOFNO 'r Arglwydd, gwyn ei fyd,
A rhodio 'hyd ei lwybrau :

Bwyttai o ynnill gwaith dy law,
  A blith y daw i tithau.
Cei gyflawn fendith gan Dduw Ion
  Bydd dithau, Sion, ddedwydd;
Fel y gwelych â goleu drem,
  Gaersalem mewn llawenydd.

## PSALM CXXIX.

Pa rai bynnag a roisant gas
  Ar degwch dinas Sion,
Gw'radwydder hwynt, cilient i'w hol,
  Y rhai annuwiol creu'on.

Byddant fel y glaswellt a fai
  Ar bennau tai yn tyfu:
Yr hwn fydd, cyn y tynner fo,
  Yn gwywo, ac yn methu.

## PSALM CXXX.

Duw, pwy a saif yn d' wyneb di,
  Os creffi ar anwiredd?
Ond, fel y'th ofner di yn iawn,
  Yr wyt yn llawn trugaredd.

Disgwyliais f' Arglwydd, wrth fy rhaid;
  Disgwyliodd f' enaid arno:
Rhois fy holl obaith yn ei air,
  F' enaid a gair yn effro.

Ei drugareddau ant ar led,
  Fe rydd ymwared i ni:
Fe wared Israêl fel hyn,
  Fo'i tyn o'i holl ddrygioni.

## PSALM CXXXI.

Gostyngais i f' enaid mewn pryd,
  Fel pan ddiddyfnyd herlod:

Fy enaid sydd fel un a fu
  Gwedi 'ddiddyfnu 'n barod.

Ond disgwylied tŷ Israel
  Wrth wir Immanuel beunydd:
Sef wrth yr Arglwydd o'r pryd hyn,
  Heb derfyn, yn dragywydd.

## PSALM CXXXII.

O Arglwydd, cyfod i'th esmwyth lys,
  A'th arch o rymmus fawredd:
Gwisged d' offeiriaid gyfion fraint,
  Gwisged dy saint wirionedd.

Can's fy Arglwydd, o serch a bodd,
  A rag-ddewisodd Sion:
I drigo ynddi rhoes ei fryd,
  Gan dd'wedyd geiriau tirion:

Hon fyth fydd fy ngorphwysfa i;
  O hoffder ynddi triga':
Bendithiaf hi â bywyd di ball,
  A'i thlawd diwall o fara.

A iachawdwriaeth, medd Duw Nâf,
  Y gwisgaf ei heglwyswyr:
A rhoddaf y'ngenau pob sant,
  O'i mewn, ogoniant psallwyr.

## PSALM CXXXIII.

Wele, fod brodyr yn byw 'nghyd,
  Mor dda, mor hyfryd ydoedd!
Tebyg i olew o fawr werth,
  Mor brydferth ar y gwisgoedd:

Fel pe disgynai draw o'r nen,
  'R hŷd barf a phen offeiriad;
Sef barf Aaron, a'i wisg i gyd;
  Yn hyfryd ei arogliad:

Fel pe disgynai gwlith Hermon
Yn dô dros Sion fynydd;
Lle rhwymodd Duw fywyd, a gwlith
Ei fendith yn dragywydd.

## PSALM CXXXIV.

Wele, holl weision Arglwydd nef,
Bendithiwch ef, lle 'r ydych
Yn sefyll yn nhŷ Dduw y nos,
A'i gyntedd diddos trefnwch.

Dyrchefwch chwi eich dwylaw glân
Yn ei gyssegr-lân annedd:
A bendithiwch, â chalon rwydd,
Yr Arglwydd yn gyfannedd.

Yr Arglwydd, â'i ddeheulaw gref
Hwn a wnaeth nef a daear,
A roddo ei fendith a'i ras,
I Sion, ddinas hawddgar.

## PSALM CXXXV.

Molwch yr Arglwydd, can's da yw;
Clod i'r Ior byw a berthyn:
Cenwch ei glod dros yr holl fyd,
A hyfryd yw y testyn.

Can's mawr yw'r Arglwydd yn ei lys,
Mi wn yn hyspys hynny;
Ym mhell uwch law'r holl duwiau mân
Mae'r Arglwydd glân, a'i allu.

Hyn oll a fynnodd a wnaeth ef,
Yn uchder nef eithafon:
A'r ddaear, ac yn y môr cau,
A holl ddyfnderau'r eigion.

Bendithier fyth mawr enw'r Ion,
O Sion hen, a barchem:

Bendithier, moler ei enw fo,
Sy'n trigo y'Nghaersalem.

## PSALM CXXXVI.

MOLWCH yr Arglwydd can's da yw;
Moliennwch Dduw y Llywydd:
Can's ei drugaredd oddi fry
A bery yn dragywydd.

Gwnaeth â'i ddoethineb nef uwch ben,
A'r ddaearen, a'r dyfr'edd,
Y rhai yw prif sylwedd y byd,
Ac i gyd o'i drugaredd.

Hwn i'n cystudd a'n cofiodd ni,
O'i fawr ddaioni tirion:
Ac a'n hachubodd yn ddiswrth
Oddiwrth ein holl elynion.

Yr hwn a ymbyrth bob rhyw gnawd,
Yn ddidlawd o'i drugaredd
Clodforwch Dduw, Brenhin y nef,
Rhowch iddo ef ogonedd.

## PSALM CXXXVII.

PAN oeddym gaeth yn Babilon,
Ar lann prif afon groyw,
Mewn coffadwriaeth am Sion,
Hidlasom ddagrau'n loyw.

Rhoddasom ein telynau 'nghrog
Ar goed canghennog irion,
Lle yr oedd prenau helyg plan
Oddeutu glann yr afon.

Y rhai a'n dyg i garchar caeth,
I ni yn ffraeth gofynen',
A ni yn bruddion, gerddi Sion:
Ysywaeth peth nis gallem.

O Dduw, pa fodd y canai neb
(Rhowu atteb yn ystyriol)
I chwi o gerdd ein Harglwydd Dad,
A ni mewn gwlad estronol?
Os â Caersalem o'r côf man,
Anghofied dehau ganu:
Na throed fy nhafod, oni bydd
Hi 'n ben llawenydd i mi.

## PSALM CXXXVIII.

RHOF fawrglod iti, fy Nuw lôn;
O ddyfnder calon canaf:
Y'ngwydd holl angylion nef,
A'm hoslef y'th foliannaf.

Ymgrymmaf tu a'th sanctaidd dŷ,
Dan ganu o'th drugaredd:
A'th enw mawr uwch-law pob peth,
A'th air difeth wirionedd.

Doed brenhinoedd y ddaear hon,
A rhoen' it' union foliant:
Addolent oll ein gwir-Dduw ni;
Can's d' eiriau di a glywsant.

Yr Arglwydd a gyflawna â mi,
Duw, dy ddaioni rhag-llaw;
Ac yn dragywydd i mi dod,
Na wrthod waith dy ddwylaw.

## PASLM CXXXIX.

ARGLWYDD, manwl chwiliaist fi;
Da y'm hadweini hefyd:
Eisteddiad, codiad, gwyddost hyn,
A'm meddwl cyn ei dd'wedyd.
Os dringaf tu a'r nefoedd fry,
Wyt yno i'th dŷ perffaith:

Os tu a'r dyfnder gostwn tro,
Yr wyt ti yno eilwaith.

Pe cawn adenydd bore wawr,
A myn'd i fôr mawr anial;
Yno bydd dy ddeheulaw di,
I'm tywys i, a'm cynnal.

Duw, prawf fy meddwl i'n fy mo',
'Oes ffordd annuwiol genny';
Gwel fi, tywys, dwg fi'n ol,
Dod ffordd drag'wyddol ymy.

## PSALM CXL.

YR Arglwydd yw fy nerth i gyd,
A'm coel, a m hiechyd calon:
Ti a rois gudd dros fy mhen mau,
Yn nydd yr arfau gloywon.

O rai cyfiawn trwy yr holl fyd,
Dy enw a gyd foliannant:
A'r holl rai union, heb ofn neb,
O flaen dy wyneb trigant.

## PSALM CXLI.

O BRYSIA, Arglwydd, clyw fy llais;
O brysur gelwais arna :
O'r man lle bwyf gwrando fy llef,
A doed i'r nef hyn attad.

O Arglwydd, gosod, rhag-gair ffraeth,
Gadwraeth ar fy ngenau:
Rhag im' gam-dd'weuyd, gosod ddor
Ar gyfor fy ngwefusau.

Mae 'ngolwg a'm holl obaith i,
Duw, arnat ti dy hunan:
Duw, bydd di 'n unig yn fy mhlaid;
Na fwrw f' enaid allan.

## PSALM CXLII.

RHOIS weddi ar yr Arglwydd nef;
Yn llym fy llef ymbiliais:
A'm holl fyfyrdod ger ei fron,
O'm calon y tywellais.

Ond pan fynegais it' fy nghur,
A'm dolur o'm meddyliau;
Da gwyddit ti bob ffordd, a'r man,
Y rhoisan' i mi faglau.

O garchar caeth, fy enaid tynn,
Dy enw am hyn a folaf:
Pan weler dy fod ar fy rhan,
Y cyfion twysgan attaf.

## PSALM CXLIII.

ERGLYW fy arch, O Arglwydd mâd,
Wyf arnat yn gweddio:
O'th wirionedd a'th gyfiawnedd,
Gofynaf it' fy ngwrando.

Fy nwylaw attat rhois ar led,
Lle mae f' ymddiried unig:
Am danad, f' enaid sydd yn wir,
Un wedd a'r tir sychedig.

Par im' ar frys glywed dy nawdd,
Can's ynot hawdd y credais;
A dysg im' rodio dy ffyrdd rhad,
Can's f' enaid attad codais.

## PSALM CXLIV.

I TI, Dduw, canaf, o fawrhad,
Yn llafar, ganiad newydd:
Ar nabl, ac ar y deg-tant,
Cei gerdd o foliant beunydd.

Bydd ein meibion fel planwydd ir
O'r bôn yn tyfu'n iraidd.
A'n merched ni fel cerrig nadd
Mewn conglau neuadd sanctaidd.

A'n conglau llawnion o bob peth,
A'r defaid, difeth gynnydd,
Yn filoedd (mawr yw'r llwyddiant hwn)
A myrddiwn i'n heolydd.

A'n hychen cryfion dan y wedd,
Yn hywedd ac yn llonydd:
Heb dor na soriant i'n mysg ni,
Na gwaeddi i'n heolydd.

Dedwydd ydyw y bobl y sy
A phob peth felly ganddynt:
Bendigaid yw'r bobl y rhai'n yw
A'r Arglwydd yn Dduw iddynt.

## PSALM CXLV.

MI a'th fawrygaf di, fy Nuw,
Can's tydi yw fy Llywydd;
Bendithio dy enw byth a wnaf,
Mi a'i molaf yn dragywydd.

Sef graslawn yw ein Harglwydd ni,
Ac o dosturi rhyfedd:
Hwyr ac anniben yw i ddig,
Llawnfrydig i drugaredd.

Da yw yr Arglwydd i bob dyn,
A'i nodded sy'n dyccianuol;
Ac ar ei holl weithredoedd ef,
Daw nawdd o'r nef yn rasol.

### RHAN. II.

WELE, mae llygaid yr holl fyd
Yn disgwyl wrthyd, Arglwydd;

Tithau a'u porthi hwynt i gyd,
  Bawb yn ei bryd yn ebrwydd.

Holl ffyrdd yr Arglwydd cyfion ŷnt,
  A'i wyrthiau ydynt sanctaidd:
Agos iawn i bawb ydyw fo,
  A eilw arno'n buraidd.

Fy enaid traethed fendith rwydd,
  A mawl yr Arglwydd nefol;
A phob cnawd rhoed i'w enw, y Sant,
  Ogoniant yn dragywyddol.

## PSALM CXLVI.

FY enaid mola'r Arglwydd nef;
  Mi a'i molaf ef i'm bywyd:
Dangosaf glod i'm Harglwydd Dduw,
  Tra gallwyf fyw, neu symmud.

Na wnewch hydr ar d'wysogion,
  Nac ar blant dynion bydol;
Am nad oes ynddynt hwy i gyd
  Na help nac iechyd nerthol.

Pan el y ffun o'r genau gwael,
  A'r corph i gael daearlen:
Felly dychwel; fel dyna'r dydd
  Y derfydd ei holl amcan.

Y pryd hyn gwyn ei fyd efô
  A roddo ei holl obaith
Ar Dduw Iago, yn gymmorth da,
  Pan el oddiyma ymaith.

Yr Arglwydd yn teyrnasu a fydd,
  Dy Dduw tragywydd, Sion;
O oes i oes pery dy lwydd:
Molwch yr Arglwydd tirion.

## PSALM CXLVII.

MOLWCH yr Arglwydd; can's da yw,
  Canu i Dduw yn llafar;
O herwydd hyfryd yw ei glod,
  A da yw bod yn ddiolchgar.

Caersalem dinas gyflawn fydd;
  Yr Arglwydd sydd i'w darpar:
Gan gasglu Israel ynghyd,
  A fu trwy'r byd ar wasgar.

Mawr yw ein Harglwydd ni o nerth,
  A phrydferth o rasoldeb;
Ac mae'n bell iawn uwch pob rhif,
  Sôn am ei brif ddoethineb.

O Caersalem, gyflawn o lwydd,
  Molianu'r Arglwydd eiddod:
O Sion sanctaidd, dod, un wedd,
  I'th Dduw glodforedd barod.

## PSALM CXLVIII.

O MOLWCH yr Arglwydd o'r nef,
  Rhowch lef i'r uchel leoedd:
Molwch hwn holl angylion nef,
  Molwch ef ei holl luoedd.

Brenhinoedd daear, barnwyr byd,
  Swyddwyr ynghyd â'r bobloedd;
Gwyr ieuaingc, gwyryfon, gwyr hên,
  Pob bachgen ym mhob oesoedd;

Molant ei enw ef ynghyd
  Uchel a hyfryd ydoedd,
Ei enw ef sydd uchel ar
  Y ddaear oll, a'r nefoedd.

## PSALM CXLIX.

CENWCH i'r Arglwydd, ac iawn fydd,
Ryw ganiad newydd ryfedd;
A chylwer y'nghyn'lleidfa'r saint,
Ei fawr fraint, a'i orfoledd.

I'w saint ef doed gorfoledd iawn,
A hon yn llawn gogoniant;
Yn eu gwelâu, yn llawen ddull,
Ac yn eu 'stefyll, canant.

Dyma'r glan ardderchowgrwydd sydd
I'w saint y sydd yn credu:
Clodforwch oll yr Arglwydd nef,
O molwch ef, am hynny.

## PSALM CL.

MOLWCH Dduw yn ei gyssegr len,
Sef ei ffurfafen nerthol:
Molwch ef i'w gadernid llym,
Ac amlder grym rhagorol.

Ar lais udgorn rhowch y mawl hyn,
Ar nabyl, telyn, tympan:
Molwch chwi ef a llawn glod glau,
A thannau, pibell, organ.

Ar y symbalau molwch ef,
A'r rhai'n â'u llef yn seingar:
O molwch ef â moliant clau
Ar y symbalau llafar.

Holl bethau molent un Duw byth,
Sydd ynddynt chwyth y bywyd;
Rhoent gyd-gerdd foliant i barhau;
Clodforwn ninnau hefyd.

---

TERFYN Y PSALMAU.

## EMYNAU.

TYR'D Ysprryd Glân i'n c'lonnau ni,
A dod d' oleuni nefol :
Tydi wyt Ysbryd Crist, dy ddawn
Sy fawr iawn a rhagorol.

Llawenydd, bywyd, cariad pur,
Ydynt dy eglur ddoniau :
Dod eli'n llygaid, fel i'th saint,
Ac ennaint i'n hwynebau.

Gwasgara di'n gelynion trwch,
A heddwch dyro ini :
Os T'wysg i ni fydd Duw Ner
Pob peth fydd er daioni

Dysg in' adnabod y Duw Tad,
Y gwir Fab rhad, a Thithau,
Yn un trag'wyddol Dduw i fod,
Yr hynod Dri Phersonau.

Fel y molianner, ym mhob oes,
Y Duw a roes drugaredd :
Y Tad, y Mab, a'r Ysbryd Glân,
Da datgan bi anrhydedd.

## EMYN II.

O YSBRYD GLAN, i'n c'lonnau ni,
Y gwir oleuni danfon :
A hefyd zel, tra fo'm ni byw,
I garu Duw yn ffyddlon.

Llewyrcha'n c'lonnau ni â'th ras,
Fel byddo gas i'n bechu ;
Ac i ni, mewn sancteiddrwydd rhydd,
Bob dydd dy wasanaethu.

Y Diddanydd wyt ti yn wir,
Ym mhob rhyw hir orthrymder :
Dy holl ddaioni di, a'th glod,
A thafod ni adroddir.

RHAN II.

TYDI addewaist ddysgu, Ion,
Dy weision i lefaru ;
Fel ym mhob man y caffo'n rhwydd
Yr Arglwydd ei foliannu.

Ein gwendid nertha di, O Dduw,
(Mawr ydyw ein breuolder)
I ddiafol, byd, na chwaith i'r cnawd,
Na fyddom wawd un amser.

Ein T'wysog wyt, O Arglwydd mau,
Rhag maglau pob rhyw bechod ;
A rhag llithro oddiwrthyt mwy,
Cynnorthwy bydd in' parod.

Dod fesur mawr o'th ras yn rhwydd,
O Arglwydd Dduw goruchaf :
Diddanwch i ni felly bydd
Yn y brawd-ddydd diweddaf.

---

TRUGAREDD, Arglwydd heb ddim mwy,
Yw 'r cwbl 'rwyn ei geisio ;
Trugaredd yw fy newis lwydd ;
Trugaredd, Arglwydd, dyro.

## GOGONIANT I'R DRINDOD.

GOGONIANT fyth a fo i'r Tad,
I'r Mab rhad, a'r Glân Yspryd :
Fel y bu, y mae, ac y bydd,
Un Duw tragywydd hyfryd.

*Megis* PSALM LI, *a* LXVII.

GOGONIANT fo i'r Tad,
I'r Mab rhad, a'r Glân Ysbryd:
Fel y bu, y mae, ac y bydd,
Un Duw tragywydd hyfryd.

*Megis* PSALM C.

GOGONIANT, moliant, parch, a bri,
I'r un a Thri, trag'wyddol fyth;
Y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân,
Fal gynt, tra bo na chân na chwyth.

*Megis* PSALM CXIII, *a* CXIV.

GOGONIANT fyth a fyddo i'r Tad,
A bid gogoniant i'r Mab rhad;
I'r Ysbryd Glân, Gogoniant fo:
Megis gynt yn y dechreuad 'r oedd,
Ac y bydd byth yn oes oesoedd:
D'wedwn, Amen, poed felly bo.

PSALM C.

ALL people that on earth do dwell,
Sing to the Lord with cheerful voice;
Him serve with fear, his praise forthtell,
Come ye before him and rejoice.

The Lord ye know is God indeed,
Without our aid he did us make;
We are his flock, he doth us feed,
And for his sheep he doth us take.

O enter then his gates with praise,
Approach with joy his courts unto:
Praise, laud, and bless his name always,
For it is seemly so to do.

Because the Lord our God is good,
His mercy is for ever sure:
His truth at all times firmly stood,
And shall from age to age endure.

## HYMN I.

COME let us join our cheerful songs
With angels round the throne;
Ten thousand thousand are thier tongues,
But all their joys are one.

'Worthy the Lamb that died,' they cry,
'To be exalted thus:'
'Worthy the Lamb,' our lips reply,
'For he was slain for us.'

Jesus is worthy to receive,
Honour and power divine;
And blessings more than we can give
Be Lord for ever thine.

The whole creation join in one,
To bless the sacred name
Of Him that sits upon the throne,
And to adore the Lamb.

## HYMN II.

SALVATION! O the joyful sound!
'Tis pleasure to our ears;
A sov'reign balm for ev'ry wound,
A cordial for our fears.

Salvation! let the echo fly
The spacious earth around,
While all the armies of the sky
Conspire to raise the sound.

## PSALM CXVII.

FROM all that dwell below the skies,
Let the Creator's praise arise;
Let the Redeemer's name be sung
Through ev'ry land, by ev'ry tongue.

Eternal are thy mercies, Lord:
Eternal truth attends thy word;
Thy praise shall sound from shore to shore,
Till suns shall rise and set no more.

---

Praise God, from whom all blessings flow:
Praise Him all creatures here below:
Praise Him above ye heav'nly host;
Praise Father, Son, and Holy Ghost.

YCHYDIG HYMNAU,

AT

# ACHLYSURON NEILLDUEDIG.

---

## HYMN I. M. N. 8, 7, 4.

MARINERS.

*Am daeniad yr Efengyl.*

DROS y bryniau tywyll niwlog,
Yn dawel f' enaid edrych draw,
Ar 'ddewidion sydd i esgor,
Ar ryw ddyddiau braf gerllaw,
Nefol jubil, &c.
Gad im' wel'd y bore wawr.

Doed yr Indiaid, doed Barbariaid,
Doed y Negroes du yn llu,

I ryfeddu'r ddwyfol gongcwest
Unwaith ga'wd ar Galfari;
Swn y frwydr, &c.
A dreiddio i eitha conglau'r byd.
Ar ardaloedd maith o d'wyllwch,
Tywynnu a wnelo'r haulwen lân,
Ac ymlidied i'r gorllewin,
Y nos, o'r dwyrain draw o'i bla'n;
Iechydwriaeth, &c.
Ti yn unig garrio'r dydd.
Gwawria, gwawria, hyfryd fore,
Ar ddiderfyn fagddu fawr,
Nes b'o bloedd yr auraidd udgorn
Yn dadseinio'r nef a'r llawr,
Holl derfynau, &c.
Tir Immanuel i gyd.
Hed fel mellten, bur efengyl,
A gorchfyga oll yn lân;
Bydded i'th gyffiniau ehang,
Ymhelaethu fyth y'mla'n,
A'th lywodraeth, &c.
Dros y moroedd maith i gyd.

HYMN 2. M. N. 8, 7, 4.

COVENANT.

TAENED gweinidogion bywyd,
Iachawdwriaeth Iesu ar led;
Cluded moroedd addewidion
Drosodd draw i'r rhai digred:
Aed efengyl, &c.
Ar adenydd dwyfol wynt.
Doed preswylwyr yr anialwch,
Doed trigolion bro a bryn;
Doed y rhai sydd ar y cefn-fôr,
I garu'r iechydwriaeth hyn;

O

Nes bo adsain, &c.
Moliant yn amgylchu 'r byd.
Duw, teyrnasa ar y ddaear,
Gorllewin, gogledd, dwyrain, de';
Cymmer feddiant o'r ardaloedd
Pella, t'w'lla is y ne':
Haul cyfiawnder, &c.
Llanw'r ddaear fawr â'th ras.

HYMN 3. M. N. 8, 7, 3.

Arglwydd, anfon dy leferydd
Heddyw yn ei rwysg a'i rym;
Dangos fod dy lais yn gryfach,
Na's gall dyn wrthsefyll ddim:
Cerdd y'mla'n, nefol dân,
Cymmer yma feddiant glân.
Tyred Iesu i'r ardaloedd,
Lle teyrnasa'r dywyll nos;
Na'd fod rhan o'r byd heb wybod,
Am dy chwerw angau loes:
Pa'm bydd poen, addfwyn Oen,
Am dano yn eitha'r byd heb sôn.
Mae'r efengyl wen yn curo,
Ac yn codi banner gras,
Mewn rhyw filoedd o ardaloedd,
Ar y mynydd, yn y maes:
Y mae llef bur y nef,
Yn cyhoeddi ei haeddiant ef.

HYMN 4. M. N. 8, 8.
St. Peters.

Aed efengyl fel y wawr-ddydd,
Ar led i gludo myrdd drwy'r gwledydd;
Ac aed sain yr udcyrn arian,
I ddymchwelyd teyrnas satan.

T'wyned haul ar fyrdd o werin,
Sy'n y dwyrain a'r gorllewin;
Sôn am Iesu a lanwo ynysoedd,
Fel mae'r dyfroedd yn toi'r moroedd.
Llanwed moroedd iachawdwriaeth,
Holl gyrrau'r byd â gwir wybodaeth;
Dehau, gogledd, a'r holl wledydd,
Fyddo yn dyfod at Fab Dafydd.
Doed myrddiynau maith o'r Indiaid,
Hen Iuddewon a Phaganiaid,
A'r holl ynysoedd a fo'n nesu,
Yn dorf trwy ras dan faner Iesu.
Llwyddiant i'r cenhadau ffyddlon,
Sy'n cyhoeddi efengyl dirion;
I gael rhyw dorf ddirif, trwy gredu,
Yn berlau hardd y'nghoron Iesu.
Croeso hyfryd fore hawddgar,
Pan ddel lluoedd nef a daear;
I gyd ganu am ben Calfaria,
Gyd â'u Priod, Haleluia.

HYMN 5. M. N. 5, 5, 8.

Efengyl yr Oen,
Am dani bydd sôn,
Trwy'r bròydd a'r bryniau o'r bron;
Hen Jericho fawr,
Yn llwyr ddaw i'r llawr;
Mae'r udgyrn yn bloeddio wrth hon.
Dioddefaint ei groes,
Ei boenau a'i loes,
Wnaeth heddwch rhwng nefoedd a llawr;
Y ffordd at y Tad,
Agorwyd trwy'r gwa'd;
Am dani bydd canu bob awr.
A'u cân yn gyttun,

...ed gânt o afon hedd
Y Messia,
A'u pur olchi'n hardd eu gwedd;
Halaluia.
Ninnau 'molchwn gydâ hwy
Yn y ffynnon;
Mae glanhad trwy farwol glwy',
In' rai duon:
Ni chaiff trag'wyddoldeb maith
Drai na diwedd,
Ar ein cân a hyfryd waith
Ei glodforedd.

HYMN 10. M. N. 7, 4. HORNSAY.

CANED lluoedd daear lawr,
Fe gaed newydd,
Rhown ogoniant, moliant mawr,
I'n gwaredydd;
Iachawdwriaeth ucha dawn,
A ddatgudd'wyd,
Gwaed y groes a dalodd iawn,
Pan dywalltwyd.
Cofio'r hen addewid wnaeth,
I dŷ Isr'el,
I genhedlaeth daear daeth
Breintiau uchel;
Y mae'r udgyrn yn y wlad,
Yn cyhoeddi,
Cyflawn iawn wrth fodd y Tad,
Ga'dd ei roddi.

HYNM 11. M. N. 9, 8. ELLIOT.

DAW miloedd ar ddarfod am danynt,
O hen wlad Assyria cyn hir,
Preswylwyr yr Aipht ac Ethiopia,
At Grist y Gwaredwr yn wir:

Cyflawn y prophwydoliaethau,
Daw'r holl addewidion i ben;
Fe dynnir myrddiynau ar Iesu
Dderchafwyd rhwng daear a nen.
Yr holl frenhiniaethau a dreulir,
A'r ddelw falurir i lawr;
Y garreg a leinw'r holl wledydd,
Ei chynnydd fel mynydd fydd mawr:
Ceir gweled cenhedloedd y ddaear,
Yn dyfod o bedwar cwrr byd;
Ymofyn y ffordd tu a Sion,
Y bydd ei drigolion i gyd

HYMN 12. M. C. 8, 6. SUFFOLK.

Efengyl Ion o Sion sydd,
Yn myn'd i'r gwledydd pell;
I dd'we'yd am Grist lle na bu sôn,
O! pa newyddion gwell.
Arwyddion sydd, ame'r dydd yn dod,
'R eilunod gwymp i lawr,
Drwy'r holl ardaloedd tywylla' sy,
Fydd neb ond Iesu'n fawr.
Iuddewon a Chenhedloedd byd,
Ddaw'n unfryd yn y man,
I garu Iesu: pan ddaw'r dydd,
Trag'wyddol fydd y gân.

HYMN 13. M. C. 8, 6, CAMBRIDGE NEW.

Llewyrched pur oleuni 'r nef,
Dros wyneb daear faith;
Ac aed efengyl gadarn gref,
Hyd at bob llwyth ac iaith.
Doed dehau, gogledd, dwyrain faith,
Gorllewin o un fryd,
I edrych ar brydferthwch gwaith
Iachawdwr mawr y byd.

HYMN. 14. M. S. 8, 7.

Ar fyr boed i bob anial fro,
  Flodeuo megis rhosyn ;
Yn ol d' addewid, i hyn fod,
  O Arglwydd dod orchymyn.
Y graig yn llyn, O Arglwydd da,
  A ffrwyth ar drigfa dreigiau ;
Pâr di fod hynny cyn bo hir,
  A'r crasdir yn ffynnonau.
Tywallt, O Dduw, ar fyr o bryd,
  Dy Yspryd o'r uchelder,
Fel bo'r anialwch oll yn wir,
  Yn ddoldir mewn ffrwythlonder.

HYMN 15. M. N, 2, 8. PROPE.

Y'mla'n y'mla'n,
  Aed pur efengyl Iesu glân
Nes llenwi'r byd o'r nefol dân,
I seinio cân dduwiolaidd dôn :
Derchafu'n llon dros wyneb llawr,
Ogoniant mawr yr anwyl Oen.
  'Nawr, 'nawr,
Tyr'd Iesu yn d'awdurdod mawr,
Gwna ôl dy law dros ddaear lawr,
Nes byddo'n glodfawr d'enw cu,
O godiad haul hyd fachlud hwn,
A'r byd yn grwn ar d' ol yn llu.

HYMN 16. M. N. 8, 7. DISMISSION.

Llefain'r ydym am helaethu
  Teyrnas Iesu yn y byd,
Aed efengy yn ei phurdeb,
  Dan weniadaeth wyneb pryd ;
Diferynna oddi uchod,
  Fendith y cyfammod hedd,

Gair y bywyd fyddo'n llwyddo,
Ac yn clwyfo megis cledd.
Llwyddiant, llwyddiant, Iesu hyfryd,
Marchog yn dy gerbyd mawr,
Nes i'neidiau gael dy 'nabod
Ac eilunod dd'od i lawr ;
Dos y'mlaen tan ddryllio creigiau.
Rhwyg effeithiau gwagedd ffol,
'Ffordd y rhedo dy olwynion,
Fe ddaw dynion ar dy ol.
Lle mae 'fengyl wedi cyr'edd,
Mae trefn rhyfedd ar y byd,
Moli Duw, llafurio dyfal,
A'r hen anial yn dwyn ŷd ;
Pan esgoro'r hen addewid,
Arwydd cred trwy hollfyd crwn,
Ffrwd bendithion corph ac enaid,
Ddaw y dydd bendigaid hwn.

HYMN 17, M. N. 20, 10. MOTRAM.

DOED mawr a bach, o is a gwaelach rhyw,
Rho'nt glod a mawl, i gammawl enw Duw
Down ninnau i gyd, o eitha'r byd heb wâd
I'w foli'n faith, am iachawdwriaeth rad.
Cenhadon hedd mewn efengylaidd iaith,
Sy'n galw i'r wledd, dros for India faith.
Caiff Hottentots. a'r Negroes dua eu lliw,
Farbaraidd lu, eu dwyn yn deulu Duw.
Y ddelw fawr, a ddaw i lawr yn ddim,
A'r garreg bach i'w gwel'd o gryfach grym:
Hen anghrist hy, a'i lu a ddaw i lawr;
A'r Iesu fydd fel mynydd uchel mawr.

HYMN 18. M. H. 8, 8. DERBY.

*Bore Ddydd Sabboth.*

GWAITH hyfryd iawn a melus yw
Moliannu d enw di, O Dduw !
Sôn am dy gariad fôrau glâs,
A r nôs am wirioneddau th·râs.

Y Sabboth hyfryd wyl yw hon
Na flined gofal byd mom bron,
Ond boed fy nghalon i mewn hwyl
Fel telyn Dafydd ar yr wyl.
Yn Nuw, fy nghalon llawenha
Bendithio ei waith a i air a wna,
Mor hardd yw gwaith dy ras, O Dduw
A th gyngor pa cyn dyfned yw!
Mae gwir lawenydd uwch y nen
Fel olew pur i lonni 'mhen;
Ac mi gaf ran o ogoniant fry
Pan buro gräs fy nghalon i.

HYMN 19. M. N. 8, 7, 4. MARINERS.

*Un arall.*

DEUWCH fredyr yn hyfrydol
At waith siriol mae n llesiad,
Wrando n addas wirioneddau,
Sôn am drugareddau rhad.
A molianuu &c
Y nghynteddoedd ty ein tad,
Nerth i dreulio r sabboth sanctaidd
Drwyddo n weddaidd yn dy waith;
Gwyl hynodol a bennodaist
Pan osodaist un o saith:
Dydd i borthi &c
Sion deulu sydd ar daith.
Dyro nerth i th weision heddyw
Sefyll dros dy enw mawr;
I bregethu ceidwad enaid
I drueiniaid ar y llawr:
Ymddisgleiria &c
Tirion wena torr y wawr.
Saethau r nef a fyddo n glynu
Nes cynhyrfu r fagddu fawr;
Achos canu ngwlad gogoniant
Herwydd llwyddiant ar y llawr,
Pechaduriaid &c
Ddel i weled nefol wawr.

HYMN 20. M. H. 8, 8. DUKE STREET.

*Nos Sabboth.*

BUM heddyw gyd a th bobl gu
Fy nefol Dad o fewn dy dy,

I weled gwedd fy Anwylyd gwiw;
Mor hoff ei lais! mor hardd ei liw!
Dy Sabboth sanctaidd yma sydd
Orphwysfa i'm bron flinderus brudd;
A'th deml lan sydd i mi le
Cysurus nawr fel cwrr o r ne,
Gwyn fyd y llu o fewn i r lleu,
Lle na ddaw r Sabboth byth i ben
Lle nad oes croes i weision Crist
Na gofid trwm nac enaid trist.
Ond prynedigion gwaed yr Oen
Yn dorf aneirif bur heb boen,
A th ber glodforant o un fryd
Yn ddedwydd byth heb ddiwedd byd
Pan dderfydd fy Sabbothau i gyd
A'm heinioes brau yn hyn o fyd
Dwg fi yn ddi-fraw i'th breswyl fry
I seinio clod fy Iesu cu.

## HYMN 21. M. S. 8, 7.

*Un arall*

Diweddu mae un Sabboth mwy
   A nesach wy bob noswaith
I ddydd y farn a ddaw ar frys
   Nid erys fynud unwaith
Er bod cysuron melus fyrdd
   Yn tarddu yn ffyrdd sancteiddrwydd
Bum heddyw yn farwaidd yn fy nhaith
   A llesg yn ngwaith yr Arglwydd.
Pa bryd y caf fy Mrhynwr cu
   Gyd-foli a r llu nefolaidd
A seinio clod dy enw glan
   Ar ddwyfol gan diddiwedd,

## HYMN 22, M. C. 8, 6. EBENEZER NEW

*Nadolig*

Y bore hwn trwy bura hedd
   Gwir sain gorfoledd sydd
Yn mhlith bugeiliaid gwael eu bri,
   Cyn iddi dorri r dydd
Gwrandawed pob pechadur gwan
   Sy'n plygu dan ei bla;
Angylion nefa'u llef yn llon
   Yn dwyn newyddion da.

Ym Meth'lem Juda dyma r dydd
Doe'r newydd da o'r nef;
Duw ymddangosodd yn y cnawd
Ein brawd yn dlawd ei le.
Rhyfeddwn byth tra fyddwn byw
Daioni Duw i ddyn;
Yr Iesu'n aberth roes i ni
Trwy nodded Tri yn un.

### HYMN 23. M. C. 8, 6. HIBERNIA.

*Pasc*

BENDIGAID fore teg ei wawr
Daeth Iesu mawr o r bedd
Cadd fuddugoliaeth gyflawn gu
O r carchar du ei wedd
Er gorwedd mewn distawrwydd dro
Ym mro marwolaeth brudd
Ein Prynwr nefol codi wnaeth
Pan ddaeth y trydydd dydd
Nis gallai r bedd nac uffern drist,
Mo attal Crist i r lann
Disymmwth iawn daeth daear-gryn
I ddryllio r gadwyn wan
Ith enw mawr ein Harglwydd mad
Dyrchafwn ganiad hy
A seiniwn oll Hosannah n rhydd
Am ddydd ein Harglwydd cu
Anfarwol glod a nefol fawl
I'n gwych fuddugawl Dduw
Rhoed daear lawr a r nefoedd fry
Wych glod i r Iesu gwiw.

### HYMN 24. M. S. 8, 7.

*Ar Ddydd Calan*

CLODFORWN ein cynnaliwr fyth
Am ei fendithion amal:
Profasom hyd y fynud hon
Ei ryfedd dirion ofal
Pob haf a gauaf r ym yn cael
Ei anwyl hael ddaioni:
A chas y flwyddyn frau o'i bron
Ai roddion ei choroni.
Bu llynedd farw llawer un
A ninnau sy yn heneiddio:

Cawn bawb eln harwain cyn bo hir
  Drwy angau i dir ango
Nis gwyddom beth y sydd o'n blan
  Pa ddw r neu dan neu dwllwch;
Ein cysur yw fod Crist o'n rhan
  In tywys trwyr anialwch
Os arbed y Gwinllanydd hael
  Ei brennau gwael anfuddiol
O! dygwn leni gyflawn lwyth
  O beraidd ffrwyth rhagorol

HYMN 25. M. N. 8, 7. DISMISSION.
*Ar Sychder.*

O'R trag'wyddol Dduw trugarog,
  A galluog, gwrando'n llef,
Am drugaredd dra ragorol,
  Am ddymunol wlith y nef:
Ymbil'r ydym am gafodydd,
  Ro'nt lawenydd i'r holl wlad;
Ar frys gwlawia fendith glaiar
  Ar ein daear ni, O Dad.
Ein pechodau dychrynedig,
  Dro'nt yr wybren megis prês,
A'r ddaear dêg, fel haiarn du-las,
  Aeth yn gras gan nerth y gwr es:
Nid y delwau gwag eu dwylaw,
  All fendithio'n gwlad â gwlaw;
Y gwlith mwyn a'r gwlaw tymhorol,
  Ddaw i lawr o'th ddwyfol law.
Aeth yr iachus ffrydiau'n sychion,
  Am yr afon brefa'r hydd;
Llysg y dolydd trwy'r ardaloedd,
  Caiff llaweroedd brofiad prudd:
O tosturia, Arglwydd tirion,
  Wrth drigolion trist ein gwlad;
Pâr i filoedd orfoleddu,
  Trwy gyfrannu'r fendith rad.

HYMN. 25. M. S. 8, 7. LLANGERNIW.
*Ar Wlybaniaeth.*

DAIONUS a thosturiol iawn,
A graslawn ydywt, Arglwydd;
A'th rad drugaredd yn ddiau
Sydd yn parhau yn dragywydd.
Wrth rai annheilwng o gael byw,
O Arglwydd Dduw tosturia;
Ac arbed etto y flwyddyn hon,
Na thor mo ffon ein bara.
Ein hanwireddau aml eu rhi,
Sy'n gweiddi am ddialedd.
Er hynny arbed, nefol Dad,
O'th helaeth rad drugaredd.
Yn anniolchgar buom, do,
Gan gam-ddefnyddio llawnder;
O Arglwydd da, tosturia di,
A phaid a pheri prinder.
O Dduw, tosturia wrth rai ffol,
Haeddiannol o dy gerydd;
Dy fendith ar y wialen dod,
Dysg i ni fod yn ufudd.
Duw, dod orchymyn oddi fry,
I chwalu y cymmylau;
Can's os gorchymyn gennyt gânt,
Attaliant eu costrelau.

HYMN 26. M. H. 8, 8. DERBY.

MAWR yw'th diriondeb, nefol Dad.
Hyd yma attom ni fel gwlad:
Pan mae'th ddialeddau wedi d'od
Ar wledydd eraill yn ddi'od.
Er i ti'n bwgwth ni â chosp
I'n difa trwy y newyn tost:
Ond mewn trugaredd, Arglwydd cu,
Y'ngwyneb barn y cofiaist ni.

Ein meusydd cnydiaist ti yn llon,
A'th roddion hael y flwyddyn hon;
A hin ddymunol roes i ni,
I gasglu'th drugareddau di.
Cyd-uned ein calonnau'n awr,
I foli'th enw, Arglwydd mawr;
A rhoi ein cyrph yn aberth byw,
Er clod i'th ras—ein dyled yw.

HYMN 27. M. H. 8, 8. DUKE STREET.

*Hymn Foreuol.*

Fy enaid, deffro, cân yn awr,
Fel'r adar achub blaen y wawr;
Os mawl sy'n perthyn iddynt hwy,
Mae mawl i mi mil miloedd mwy.
Fy nyled fawr feunyddiol yw
Tâlu ufuddaf glod i'm Duw;
Yn byw'n y byd tra byddaf fi,
Gweddi a mawl sy'n gweddu i mi.
Fy Mhrynwr yw mae'n haeddu cael,
Y blaen-ffrwyth o'm gwasanaeth gwael;
Am drugareddau rhad heb ri,
Gweddi a mawl sy'n gweddu i mi.
Beth, os yw poen a chroesau'r byd,
Fel tonn ar donn yn curo o hyd.
Er maint fy nghroes, fy mhoen a nghri,
Gweddi a mawl sy'n gweddu i mi.

HYMN 28. M. H. 8, 8. EATON.

*Hymn Brydnawnol.*

I Ti, fy Nuw rhof foliant rhydd,
Am freintiau dwys oleuni 'r dydd:
Gwna i mi noddfa gadarn gu,
Dan gysgod dy adenydd di.
Er mwyn dy anwyl Fab dy hun,
O maddeu 'meiau mawr bob un,

Fel cyn yr hunwyf b'wyf o hyd,
Mewn hedd â thi, fy hun a'r byd.
Dysg i mi fyw, a myn'd mewn hedd,
Fel 'rwyf i m gwely felly i'm bedd:
Dysg i mi farw a bod heb fraw,
Pan ddelo Crist ar gwmmwl draw.
Gwna i mi orphwys heno o hyd
Yn dawel dan dy adain glyd;
A do'd yn wiw at dorriad wawr
I foli'n fwy fy Arglwydd mawr.
I Dad y trugareddau 'gyd,
Rhown foliant holl drigolion byd;
Llu'r nef moliennwch ef ar gân,
Y Tad a'r Mab a'r Yspryd glân.

## AWDL.

*Cristion yn ymddiddan a i enaid yn ei ymdrech wrth ymddattod a'r cnawd.*

Enaid bach, anadliad Duw,
Gâd y tŷ lle'r wyt yn byw.
Pa obeithio, ofn' garw!
Ing a gwynfyd sydd wrth farw!
Na rwngnaech gnawd ddioddef cur,
A'm llesmeirio i'r bywyd pur.
Ust! sibrwd mae'r nefol lu,
"Blentyn Duw, tyr'd attom fry."
Beth sy'n gwasgu o'm pen i'm traed,
Cau fy ngolwg, fferru 'ngwaed?
Boddi f' yspryd, dwyn fy nglyw?
Fy enaid bach, a'i angau yw?
Mae'r byd ar gil yn myn'd o'm gwydd,
Mae'r nef yn agor i mi 'n rhwydd:
Pa leisiau sy'n fy nghlyw?
Crist, Crist a ddaeth i'm dwyn at Dduw.
Uffern! p'le mae dy boenau mawr?
A'th loesion, Angau, 'n awr?

**DIWEDD.**